# GWERIN-EIRIAU SIR GAERNARFON:

## EU HYSTYR A'U HANES.

GAN

J. JONES *(Myrddin Fardd).*

---

*"Er llawer coll ni chollais i*
*Mo'r cof o'r amser gynt."*

---

PWLLHELI:
ARGRAFFWYD GAN RICHD. JONES, HEOL FAWR.

1907.

# RHAGYMADRODD.

PE yr ymgymmerasid â'r gorchwyl o gasglu hen werin-eiriau Sir Gaernarfon hanner canrif yn ol cawsid helaethrwydd cyfoethog o ddefnyddiau; erbyn heddyw y mae yr hen bobl oll wedi croesi'r aber sy'n ysgaru byd a bywyd, a'r canlyniad anocheladwy ydyw fod llawer o'r hen eiriau wedi eu colli cyn cof yr oes hon—ciliasant yn raddol o flaen ymlediad yr iaith lenyddol a'r dyfodiad parhaus a chynnyddol o eiriau Seisnig i fewn, yr hyn, ysywaeth, fu'n achlysur i nifer anmhrisiadwy werthfawr o'n hen werin-eiriau suddo i waelodion ebargofiant heb obaith iddynt gael adgyfodiad mwyach. Eto, er ei bod wedi myned yn hwyr ar eu hanes, cymhwysach na galaru yn swrth uwchben y colliant yw ymdrechu i loffa yma a thraw—canys o hyn, fe ddichon, y gellir adfywiad i rai o'r mân weddillion ag y byddwn mor ffodus a llwyddo i'w hachub rhag myned ar ddifancoll, o herwydd cawn fod rhai o honynt wedi goroesi sigliad oesoedd lawer—rhai wedi newid eu gwisg trwy fyrdra cof y cyhoedd yn nghywirdeb adroddiadau, ond adwaenir eu gwedd, er dan nodau canrifoedd o amser—yn yspaid namyn deugain mlynedd, rhyfedd fu y newidiadau, megis pe troisid pobpeth y tu chwithig i lawr.

Tuag at iawn ddeall tarddiad yr hen werin-eiriau ni enir byth mo'r dyn all roddi goleuni ar y pwngc. Mae llawer o honynt wedi eu bathu o oes i oes gan y werin at wasanaeth neillduol—gannoedd o eiriau yn llafaredig, nad ydynt wedi eu cydnabod eto gan y geiriadurwyr—yn eu mysg lawer o eiriau, tywyll gan henaint dros gyfrif —yn nghyda llawer math o hen eiriau yn galw am eu

halltudio yn llwyr allan o arferiad—bastarddiaid a barbariaid o wneuthuriad annghelfydd, ac mewn gwisg mor ddieithr fel y mae yn mron yn anhawdd eu hadnabod. Yr ystyriaeth o hyn a'n harweinia i gredu fod yn rhaid byw yn mysg y bobl gyffredin, ac ymgymmysgu â hwynt—bod yn gyfarwydd âg amgylchiadau eu byw, &c., cyn y ceir nemor wybodaeth o'u hieithwedd a'u termau, heb esgeuluso ymofyn â'r fam yn ei chartref, â'r plant hyd y ffyrdd, â'r bobl yn y farchnadfa, a sylwi hyd y nod pa fodd y llefarant; oblegid cawn yn fynych fod llafar gwlad yn fwy awgrymiadol o darddiad gair nag yw geiriaduron y bobl ddysgedig; a rhaid gosod hyny yn erbyn tystiolaeth rhai o'r fath. Os yw gair neu ddywediad yn annealladwy, y maent hwy yn sicr o ganfod ffordd i'w esbonio. Ar y tu arall, gosodwn dystiolaeth hen wr neu hen wraig ar y fath fater o flaen tystiolaeth ein prif awdwyr—y mae tafodiaith wedi cadw llawer o eiriau hynafol yn ffyddlonach na'r iaith lenyddol. Os "Trech gwlad nag arglwydd," trech llafar na grammadeg.

Mae geiriau a arferir gan y werin anhyddysg yn llawer mwy effeithiol na geiriau annghynefin ymadrodd dysg; er, ar yr un pryd, fod rhai o eiriau y werin ag y mae'n rhaid wrth gryn graffder i ganfod beth olygir neu fwriedir drwyddynt—nid beth ddywedant hwy yn llythyrenol. Yr oedd yr hen bobl yn arferyd geiriau mewn ffurfiau rhyfedd i'n harferion ni yn awr, heb brisio dim am eu treigliad na'u cynaniad mewn unrhyw fodd; ac, yn ol pob argoel, dylid ystyried hyny bob amser wrth ddosranu hen eiriau. Buddiol hefyd yw sylwi, hyd y gellir, beth oedd ystyr geiriau yn yr amser gynt, yn gystal a pheth yw eu hystyr yn ein dyddiau ni. Weithiau y mae gair yn llithro o un ystyr i ystyr arall, lled gyffelyb iddo ar y dechreu, a thrwy ymarfer yn cryfhau yn ei ail ystyr, nes y mae ei ystyr cyntaf yn myned yn ddieithr, neu, efallai, yn anghof. Nid yr un

yw ystyr gair, chwaith, bob amser ac yn mhob amgylchiad. Yn hyn, llawer o fwys-droi fu ar eiriau o oes i oes, ac y mae llawer o honynt yn parhau mor amwysol ag erioed, tra eraill o honynt yn achlesu ynddynt eu hunain fwy o wir hanes gwlad, pe y ceisid cael gafael arno, nag y mae y nifer fwyaf o bobl wedi ei ddychymmygu. Nid oes odid gantref na chwmmwd na wahaniaetha i ryw raddau yn yr iaith—mewn un lle golyga gair un peth, yn y lle arall golyga yr un gair beth arall hollol wahanol, ac y mae rhai geiriau na cheir mo honynt ond yn unig mewn ambell ardal—perthynol i'r gyfryw ardal yn unig, yr hyn a elwir yn *Barthaeg*, sef *Iaith ardal* neu *barth neillduol*. Nid oes awdurdod i eiriau *gwerin lleol* yn unman ond yn y *lle* y maent yn cael eu harfer yn unig, ac nis gellir eu hesbonio yn unman ond yn y *lle* yr arferir hwy—mae gan bob parth ei hynodrwydd, a chan bob rhanbarth ei ddefodau. Rhaid teithio cryn lawer cyn y gellir amgyffred yn iawn y gwahaniaeth rhwng y naill le a'r llall.

Bod gwahaniaeth neillduol o feddwl ac ymadroddi yn perthyn i'r werin yn ngwahanol barthau y Sir, sydd amlwg.—"Lled dda," yna "lled lew," ac yna yn mlaen at "yn o lew." Difyr odiaeth yw clywed y geiriau a arferir gan y bobl yn y naill ranbarth a'r llall ; a'r modd y maent yn newid o fewn ychydig filldiroedd. Un diwrnod wrth sylwi fod "hylldod o foch" yma heddyw ; "Oes," ebe hen frawd, "mae yma beth anferth o honyn' nhw," a thrachefn yr oedd yno "beth awff." Hawdd canfod mai amrywiaeth geiriau sydd yn y darluniad blaenorol—amlygiad o ddylanwad pwysig y naill ardal a'r llall ar ei thafodiaith, heb nemor yn yr arwyddocâd : llawer o wahanol ffyrdd sydd gan wahanol bobl wrth siarad, a phob un o'r bron yn cyfrif ei ffordd ei hun yn oreu. Hynodrwydd arall yn arferiad y werin yw y dull o gamseinio geiriau neu ddarnau o eiriau, megis braf arwinol, clws arwinol, oer arwinol, teg arwinol, &c., yr

hyn yn nglŷn â barddoniaeth a gyfrifir yn "ddrwg ystyr." *Æ*rwinol yw y gair iawn, ac nid *a*rwinol. Eto, ceir siampl o ddull henafol mewn cam-adroddiad llawer o eiriau, megis cydlyniad y *t* wrth y llythyren *ll*, a'r *th* wrth y llythyren *n*, yn union ar eu hol, megis hollt am holl, a penthryn am penrhyn. Effaith tafod anystwyth yw yr *hollt* hwn am *holl*, fel ag y clywir y cyfryw dafod yn dyweyd *"dyn hyllt"* am *ddyn hyll*. Y tafod anystwyth hwn hefyd yw creadigaeth y *"rhoid arian"* am *roi arian*. Dosbarfh o led gyffelyb natur yw a ganlyn,— "cerch," "kierch," "kieirch," "cyeirch," "curch," "cyrch," "cwaethog," "cwarfod," "cymaf," "'difar," "'madrodd," "m'r'ynion," "'rioed," "t'w'chu," "t'w'llwch," "'w'llys," ac "ydi," am ceirch, cyfoethog, cyfarfod, cymmeraf, edifar, ymadrodd, morwynion, erioed, tewychu, tywyllwch, ewyllys, ac ydyw. Dosbarth o'r un nodweddiad yw *diarth, ewyrth,* am *dieithr, ewythr;* tangne*dd*ef am tangne*f*edd, &c. Trawsddodiad llythyren o flaen y llall yw hyny. *Dwad* rywbeth am *dywed;* hefyd, "wyt ti'n *dwad?*" am *dyfod;* eto, hyd y nod mewn enwau lleoedd, ceir yr unrhyw nodweddiad yn ymgyfarfod, megis Bettws *Bach,* Bettws *Fawr,* yr Orsedd *Bach* a'r Orsedd *Fawr*, &c. Ceir yn y ffurfiau blaenorol enghreifftiau amlwg o anwadalwch iaith y werin—y dull cymmysglyd o'i thrafod a'i chrugio ar ei gilydd, tra ar ei threigl trwy safnau bwygilydd. I ddilyn hyn, cymmerer a ganlyn fel enghraifft o'i hacen-iad :—Twr, t'rau (tyrau); mynydd, myn'ddoedd (mynyddoedd); llum, ll'mach (llymach); cwmmwl, cwmm'lu (cymmylu). Hawdd i bob crwt wybod fod rhywbeth allan o le ar beiriannau siaradwyr o'r fath—fod geiriau rhai yn glynu megis mewn cilfachau ger porth eu clybod, geiriau rhai eraill yn tagu yn eu gyddfau, tra geiriau y lleill yn cael eu llurgunio allan o bob trefn rhwng "dannedd gosod," nes bod amledd llygriadau yr oll y tuhwnt i rif. Nid dyna ddull pobl hanner canrif yn ol.

"Siaradent hwy, nid yn feinswch, ond yn hyglyw ac eglur, gan droi eu peiriannau yn gyflawn o amgylch congl pob gair garw. Elent i ben pob mynydd, ac nid i ben y myny' a'r cyffelyb." Tybiwn nad oes angen helaethu—fod hynyna yn naill ai digon, ai gormod, i wirio nad oes esgus dros andwyo a llurgunio geiriau o lygredd i lygredd—mai gwell yw cael geiriau didolciau llafar gwlad yn eu ffurf helaethaf, nag anurddo'r iaith â *geir-ddarnau* anolygus a di-fudd dosbarth o bobl fwngleraidd a diffygiol eu lleferydd. Eto, rhaid i bawb ganiatau fod yr iaith lafaredig yn bodoli o flaen yr iaith ysgrifenedig, ac nad yw yr un ysgrifenedig ond cynnrychioli yr un lafaredig; a'r un modd rhaid addef fod yr iaith werinaidd, er mor ddi-ddeddf a thoriad haiarn bwrw, yn gymmaint uwchlaw grammadeg ag ydyw uwchlaw deddf. Felly, gwaith ofer yw ymresymu â'r werin; try glust fyddar at bob cais, a dirwyna ei chwylion yn mlaen heb sylwi ar na chyhuddwr nac erfyniwr.

Y gwir yw, y mae'r iaith yn rhwym o ollwng ymaith lawer o eiriau, a chymmeryd i fyny rai ereill—cyfnewidia fel y cyfnewidia y dderwen, yn araf ac yn raddol—dyry fodolaeth i eiriau newyddion, ac ystyron newyddion i hen eiriau; a thebygol fod cryn nifer o'i geiriau wedi myned ar ddifancoll, neu ynte yn arferedig yn eu dull cyfansawdd yn unig, a'u gwreiddiau wedi pydru, os nad, o ddigwyddiad, yn cael eu cadw mewn cangenieithoedd eraill.

Mae y Bibl Cymraeg wedi dwyn llawer o eiriau newyddion i fod ac arferiad yn mysg y werin, ac fel *safon* purdeb y gyfryw iaith, cyfieithiad awdurdodedig y Bibl a gydnabyddir y rhagoraf ag y gwyddis am dano. Canfyddir hefyd fod ychydig o fân bethau yn ein iaith sydd yn lled debyg i amliw o'r Bibl Seisnig. Ac onid yw yn hysbys fod rhes afrifed bron o eiriau yr hen Ladinwyr Eglwysig yn oesoedd cynnaraf Cred wedi eu *Cymreigio* gan yr hen Fynachod Cymreig yn y bummed

ganrif; ac heblaw hyny, bu y Rhufeiniaid yn rheoli Ynys Brydain am lawer o gannoedd o flynyddoedd. Ond, er yr oll, pe byddid yn fwy cydnabyddus â "llafar gwlad," ac â "llên y werin," diau na thadogid cymmaint o eiriau Cymraeg i wreiddiau, llygriad, a thalfyriad o ieithoedd estronol. Gyda hynyna o eithriadau, cydnabyddir mai un o ddeddfau blaenaf llafar ydyw y duedd i leihau llafar tuag at fod yn esmwyth mewn ymddiddan —yn ddiarwybod fe newidia fel y newidia hanes cenedl; a thuedd ddi-alw-yn-ol y naill fel y llall ydyw tuag at symledd a rhwyddineb gyda phobpeth.

Cydnebydd pob dyn goleubwyll nad oes modd cael ail adroddiadau o lafar ein cyndadau—fod anhawsder i roddi cyfarwyddiadau i seinio ar bapyr. Oni ellir tybied, gan hyny, mai gwell gadael y dirgelwch yn ddirgelwch—goddef yr anhawsdra, yn hytrach na cheisio esbonio yr hyn sydd annichonadwy gyda golwg ar ffurfiau llafar y tafod y cyfnod pell hwnw yn ol. O ganlyniad, cymhwysach yw i ni droi yn fwy, os nad yn hollol at ddefnyddiad geiriau nag at eu tarddiad, fel y byddo genym dir ffeithiau dan ein traed.

Ni ddichon i ni fynegi faint fu ein trafferth i olrhain yr hen eiriau a'r hen ddywediadau canlynol—faint a lafuriasom i geisio deall a chyfleu y defnyddiau a dull y werin yn trin a thrafod y moldiau i'w bathu. Nid gwaith "caban unnos" oedd myned trwyddynt. Yr oedd yn ofynol *cnoi cil* drachefn a thrachefn ar y rhan liosocaf o honynt, a mynych roddi esboniad rhanol lle na ellid rhagor, wrth geisio cael allan eu hystyron. Wedi yr oll, nid yw'r casgliad ond megis un ar brawf—onid yw'r geiriau yn awgrymu mil a mwy o helyntion dyddorol Sir Gymreig oesau pell yn ol? Er yn sychion, y maent i'r cyfarwydd, yn llawn o'r awgrymiadau mwyaf hapus; felly, yr ydym yn gobeithio y daw llawer i deithio y llwybr hwn ar ein hol ni, ac eraill ar eu hol hwythau.

Oddiwrth y geiriau a'r dywediadau gwahanryw a nodasom megis yn eiddo Sir Gaernarfon, gellir dyfalu fod nifer helaeth o honynt ar arfer mewn siroedd eraill, yn fwyaf neillduol Meirion a Mon, gan fod y siroedd hyn—y tair, megis gefeilliaid, a'u hen deuluoedd wedi mynych ymbriodi ac ymgyfathrachu â'u gilydd dros yspaid blynyddau nas gallwn ddyfalu eu rhifedi. Heblaw hyny, bydd achos weithiau yn codi o diriogaeth estronol, ac eto ei effeithiau yn ymestyn, efallai, i'r tiriogaethau cyfagos a chylchynol.

Prin y mae eisiau crybwyll nad ydym yn honi nemor wreiddioldeb yn nghylch y casgliad, nac wedi pryderu gormod yn nghylch y ffynnon; ein bod, at hyny o adnoddau oedd genym wrth law wedi chwilio, lloffa, a chasglu defnyddiau ar yr oll o'r meusydd hyny a fu o fewn ein cyrhaedd. Ac, yn olaf, bod rhwymau arnom i gydnabod cynnorthwy parod ac ewyllysgar a gawsom oddiwrth ddau gyfaill—y Parch. Richard Lloyd, Garth Celyn, Criccieth; a'r diweddar Mr. J. Edwards *(Meiriadog)*—y ddau mwyaf cyfarwydd ar hyd y llinellau hyn ag y gwyddom ni am danynt.

Yn wladgar,

J. JONES *(Myrddin Fardd)*.

*Chwilog, Mai, 1907.*



# Gwerin-Eiriau Sir Gaernarfon.



## PENNOD I.

## A.

Achlod.—"Yr achlod fawr," gwarthrudd, gwaradwydd, &c.

Achlust—Clybod *(hearing)*. "Cael achlust," fel y dywedir, yw cael rhyw awgrym-glyw am achos annghyhoedd.

Amyd—Ŷd cymmysgedig.

Anlwc—Aflwydd, anffawd, anhap.

Argian.—Clywir mamau yn arfer y gair yn fynych pan y byddo nifer o blant yn tyrfu mewn tai, "Yn enw'r argian fawr, blant, byddwch yn ddistaw." Argan, yn debygol, yw y gair, deilliedig o *cân* a *sŵn*, a'r flaenddawd *ar* yn grymuso y *gân* neu y *sŵn*. Felly, meddwl *argan fawr* yw *sŵn mawr*. Gwir y dodir *i* mewn ambell ardal, a'i gynanu yn *argian*, fel *cae* yn *ciae*, *cath* yn *ciath*, &c.

Arnodd—Enw y prif offeryn yn mlaen aradr, yn yr hwn y mae'r cwlltwr, &c., yn cael eu diogelu.

Awch—Llymder, gorawydd; awch ar arf, ei lymder miniog, *a sharp knife;* awch at fwyd, gorawydd am dano—*a sharp appetite*.

Awdyd.—Rhoir amryw ystyron i'r gair *awd*, megis tymmor, cyfleusdra, cân, &c. Gwneir hefyd ddefnydd o hono mewn geiriau lawer, megis awdyl, arawd, awdwr, &c. Golyga unrhyw waith cynnyrchedig, bid lên, llafar, neu gorfforol. Yr olaf, debygol, sydd yma, gan

mai yn nglŷn â rhyw waith felly y ceir ef bob amser dan lafar gwlad, pan gyda'r olddawd *yd* i'w fachigo—*awdyd*—rhyw fraswaith annghelfydd, dibwrpas ac anorphen.

AWFF—Gwrthwynebus ar wedd neu ymddygiad—ambell waith ar y ddau gyfrif. Symlyn, ehud, difoes:—*Auf—oaf—ough—elf.* Un o deulu hud a lledrith yr hen amserau, pan yr oedd y tylwyth teg yn chwareu eu prangciau yn nheuluoedd y wlad—yn dwyn tlysion a gwybodusion bychain y mamau, ac yn rhoi y dwl a'r hagr yn gyfnewid yn eu lle. *Awff* y gelwid y cyfryw; ac wrth yr enw hwnw yr adwaenid pob un hacrach, dylach, a mwy difoes na'u gilydd gan y werin bobl. Pa un ai y Sais ai y Cymro biau yr hawl i'r gair *awff* yn wreiddiol, barned y "Dysgedigion trwyadl," yn ol hanes a gwlad gynhenid y tylwyth teg eu hunain. Gadawn ninau rhyngddynt a'r hen Ddoethorion Johnson a Webster, &c., gyda dyweyd fod yr essill yn aros eto yn y wlad yn doraeth, ebe'r werin, ac y cwrddir rhyw awff neu gilydd o honynt beunydd beunos.

## B.

BACH.—Arferir y gair yn fynych i ddynodi anwyldeb.

BACHELL-MORDDWYD—Cilfach bôn y glun.

BACH-WALBANT.—Yr ystyr yw cil-fach, cil-fan, sef congl neu fan neillduedig—y mur lle gorphwys y bargod.

BAGALDIO, neu "Bagaldio siarad," am blentyn yn dechreu siarad.

BARA CRI—Teisenau o fara heb ei lefeinio—bara croew yr Ysgrythyr, yr hwn y dywed rhai adnodau fod yn rhaid ei bobi yn gri.

BARA MALL.—Soniai ein teidiau a'n neiniau lawer am

flynyddau y "Bara Mall"—bara llaith, afiach, heintus.

BARA SURGIACH—Crempogau yr amser gynt. *Surgeirch* yw y gair yn briodol, ac nid *surgiach,* sef *ceirch sur.* Y gair *lefain*, yr hwn a Gymreigiwyd o *leaven* y Saesneg, fe ymddengys, yw *surdoes* ac *eples*, a arferid gynt, ac nid *burym,* bydded *wenith, haidd, rhyg,* neu *geirch*—surdoes oedd yr oll.

BEDLEMA—Crwydriad disynwyr a dibwrpas; ail gwallgof crwydrol wedi diangc o Bedlem—gwallgofdy byd hysbys, yn Llundain. O Bedlem y deillia'r gair. Felly *bedlema* yw y ferf *gwibio*, *crwydro*, &c. Gwedi bod rhywun yn lled hir ar neges, gofynir "Lle buost ti'n bedlema drwy gydol yr amser?"

BEDROG.—Yr oedd *bedrog* gynt yn gyfystyr â *beddrog* y presennol, yn golygu fàn dodiad o'r neilldu yr esgyrn dynol a geid ar wasgar yn y pridd, tra wrth y gorchwyl o dori beddau.

BETHMA—Talfyriad o *beth yma*, yn cael ei fynych arfer rhwng brawddegau wrth siarad, megis *slang word,* heb ystyr iddo.

BICIL—Heli, bicil cig, &c., o *pickle.* Dynoda rhyw helynt flin neu gilydd yn sefyllfa gwladwr—profedigaeth wneyd, drwy amryfusedd, esgeulusdra, neu gamymddygiad, "Mae o mewn *bicil* dros ei ben a'i glustiau beth bynag ddaw o hono fo, druan, medda nhw," a dyna'r fam mewn *bicil* drwy'r dydd yn nghylch y plentyn—eilfydd i fod mewn *stew* ofnadwy.

BICWS MALI—Bara ceirch wedi ei falu i laeth enwyn. Micas yw y gair, sef *sop* a *steeped bread* y Saesneg; a micws yw *spray* neu *froth* y Saesneg. Ymddengys mai cyfystyr â *maliad* yw *mali.* *Siot* y gelwir y bwyd hwn mewn rhai manau, o *shot* y Saesneg yn ddiau.

BLAEN NEWYDD.—Pan bo'r lleuad yn ieuangc, adnabyddir hi dan yr enw *blaen* newydd: hwyrach mai y *blaned* newydd a feddylir. A phan fyddo hi'n llawn, dywedir ei bod yn llawn llonaid.

BO.—Mae y gair hwn o fwy hynafiaeth nag a dybir yn gyffredin. Meddylir mai rhyw berson dychymmygol ydyw—bwgan—a ddefnyddid gan famau i'r diben ffol o geisio dychrynu eu plant i ufudd-dod trwy ddweyd bod y "Bo" yn y drws. Enw cadfridog ydoedd, mab i Odin, a flodeuodd oddeutu 60 mlynedd cyn Crist. Yr oedd ei weithredoedd mor ysgeler nes oedd arswyd ar bawb rhagddo. Dywedid fod bloeddio ei enw yn ddigon i droi ei elynion yn gerig.

BOBA a arferir am rywun hen, megis "Sut yr ydych chwi heddyw *Boba* bach?" Ymddengys mai yr un yw *Boba* â *Boda*, a *Bodo*, ond fod *d* yn y ddau olaf a *b* yn y blaenaf; sef *modryb* mewn iaith anwesog neu fwythus. Y mae gan y Saeson, hwythau, eu *fond words*, fel *papa* am *father;* sef *tad* yn y Gymraeg; a chenym ninau troir *tad* drachefn yn *data* a *tada*—yr oll yn eiriau mwythus.

BODIO.—Pan ddigwyddo i rywun fod yn hir ar neges, &c., gofynir "Lle buost ti'n *bodio?*" Neu, "Beth wyt ti'n bodio yn y fan yna o hyd?" *Bodio* yw defnyddio y *fawd*, megis ag y dywedai hen fardd—

> "Mewn gwledd mae'n gywilyddus
> *Bodio* bwyd â bawd a bys."

Gellir cael ystyr arall i gyfuno â'r ystyr gwerinol, sef *bod* yn enw, a *bodio* yn ferf, fel *rhod* a *rhodio.* "Lle buost ti yn *aros*" yw ystyr *bodio* fel yna.

BOLGI—Bolerwr, bolrythwr, &c.

BRAF.

BRAGOWTHA—(O *brag*) brolio, gwagfostio, ymffrostio, &c.

BRANAR—Enw ar dir sal ac ar afiechyd fyddo ar anifeiliaid boront y cyfryw—branar yn y tir, a gwartheg a'r branar arnynt, yn salw yr olwg, ac yn awch-gnoi pob peth caffaeladwy iddynt—dilladau, &c. *Braenar* yw gair y geiryddion, ond *branar* yw gair y wlad.

BRAT A BRETYN.—" Myn'd yn hen fretyn "—" fel bretyn," &c.

BRATHU—"Brathu ei ben trwy'r drws," sef cil-edrych

BRAU, a gyfyngir i arwyddo peth crin, hawdd ei dori, ei falurio, &c., gynt yn golygu parod ac ewyllysgar, fel y cân hen Archddiacon hybarch Meirionydd :—

" O ewch i'w byrth â diolch brau."

yn sydyn ac annisgwyliadwy.

BREBWL—Bre-pwl = Penbwl yn fynegiadol iawn. Felly —gwr dwl heb ddim yn ei gopa.

BRECHDAN—Tafell o fara ac ymenyn—" Brechdaen " —brech (o brych) yn golygu braith, a "daen" (taenu), yn ol rhai. Coelia eraill fod y gair yn cael ei gyfansoddi o *braich a taenu,* am mai yr hen arferiad gan yr hen neina oedd dodi y dafell ar ol ei thori o'r dorth ar ei braich, a'i thaenu drosti ag ymenyn neu fêl â'i bawd. Mabwysiedir hefyd ei darddiad o'r Wyddelaeg. Yn olaf, gellir awgrymu yr enw *Brechdan Fetal*—brechdan dau fara, sef bara ceirch a bara amyd, y naill ar wyneb y llall.

BRIFO.—*W* wedi ei throi yn *f,* sef bri*w*o yn bri*f*o, fel y dywedir ca*f*od am ca*w*od.

BRISIN—Morawel, awel y môr—*sharp breeze.*

BRITH GOF.—Arferir *brith* a *sych* yn gyfystyr a'r rhagferf *lled.* " Y mae genyf *frith* gof." Y mae hwn a hwn yn rhyw *frith* wella," neu " yn rhyw *sych*-wella" ;

hyny yw, yn rhyw led-wella; nid yw yn gwella mor gyflym ag y byddai ddymunol. *Brith* yw *du* a *gwyn*, *cudd* a *goleu*, &c. Felly, *brith-gof* yw *cof rhanol*, sef cofio y *naill* beth o ryw hanes yn *eglur*, a'r rhan arall o hono yn *aneglur*.

BROFYDD.—Llygriad llafar gwlad ydyw rhoi *f* yn br*o*ydd. Bydd ereill yn troi *w* yn bri*w*io yn *f* yn bri*f*o. Ni cheir *b*ro*f*ydd mewn unrhyw Eirlyfr. Gellir troi *p*raw*f* yn *b*ro*f*ydd.

BRWYDAS.—"Brwydas fawr o dân." Tebyg mai br*w*dias y dylai y gair fod, fel yn y gair cyfystyr *eirias*. Brwyd ydyw *braid* y Saesneg, sef gwaith yn gy*frod*edd. Dyna *brwyd* wedi troi yn *frod* yn *cyfrodedd*. Brwydas y gelwid "Tân y Derwyddon"—y tân parhaus a gedwid yn oleu fyth gydol y flwyddyn heb ballu mewn nerth na bod, a hawl gan bawb o fewn y Gantref (*Township*) i fyned i gymmeryd o hono pan ddigwyddai i'w tân hwynt ddiffoddi. Nid oedd y gareg dân, y papur poeth, a'r dernyn dur mewn arferiad y pryd hwnw.

BRWYLIO.—Brwylio aredig, brwylio ar draws ac ar hyd, brwylio palu, &c. Llygriad yn debygol o *broil* y Saesneg yw *brwylio*, sef ffrystio, trafferthu; hefyd, crasu, llosgi, &c.

BRYWES—Bara ceirch briwedig, wedi ei dymheru a'i lyneiddio â brasder cawl neu botes—boreubryd Sul y wlad oll. Heb hwn, tebygol na buasai y dydd cyntaf o'r wythnos yn hylwyr ymddangos i'r hen bobl megis dydd Sul.

BWBACH.—Cyfystyr â bo, bw, bwci, bwgan, hwdwg, sef *bugbear* a *goblin* y Saesneg. Ceir yn yr ardaloedd cylchynol liaws o enwau lleoedd, ag ydynt yn dwyn arnodion cofiannol o'r cyfryw air, megis Camfa'r Bwbach,

Perthen Bwbach, Pwll Bwbach, Twll Bwbach, &c. Gynt, pan y gwelid gwefusau merch ieuangc yn ddolurus—megis yn grachlyd, dywedid ddarfod iddi gael *cusan bwbach.* Wrth y *bwbach* yma, yn debygol, y golygid *rhithiwr, rhithgarwr, nwydgarwr,* yn brathu ei gariad wrth ei *chusanu.*

Bwgwn i.—Llygriad talfyrol o *tebygwn* a *tybygwn*, fe ymddengys.

Bwti — Ymryson pleidiau cwerylgar — yspleddach rhanu'r yspail parth hawliau tybiedig—*booty* y Saeson. Cynghor llafar gwlad yw :—"Os wyt ti'n gall, peidio myn'd i'w bwti yw'r goreu, coelia di fi."

Bwthlan.—"Hen Fwthlan dew" ddywedir am fenyw rymus a chorffol. *Mwyth-lawn*, yn debygol oedd y gwreiddiol, yn golygu gwraig dda ei byd, yn besgedig gan fras foethau.

Byd-Wraig—Un yn derbyn plentyn neu etifedd i'r byd. Byddai yn ofynol i fydwraig allu gweddïo ar *Mair Wen*, canys hono a gydnabyddid yn abl cynnorthwyo mewn dwyn dyn i'r byd.

Bynafyd.—Ymddengys mai llygriad o anafyd yw y gair hwn. "Mi dy fynafa i di."

Byrwela—*Byrolwg*, o *byr* ac *wela*—nid gweled. *Wela* yw *look, behold,* a *lo* y Saesneg.

Byth, sydd air mynych ar y gwefusau, ond anfynych yn y pen.

## C.

Cabl-Ganu—Yr un peth a *goganu.* Y mae y blaenaf yn fwy hysbys i'r werin nag ydyw yr olaf, drwy yr arferiad a wneir o hono. Dichon iddo darddu oddiwrth mai gwneyd cân gyfrifid y dull effeithiolaf o gablu a drygliwio eu gilydd gan yr henafiaid.

CABOLI — Cyboli, cybolfa, cymysgfa, siarad direol, dibwrpas, &c.

CABR-DDULIO—Baldorddi, gwagsiarad, &c.

CANU EI GRAI.—Pan y byddo argoel o ryw anffawd yn nglŷn a chymmeriad unrhyw berson dywedir fod y wlad yn "canu ei grai." Mae llawer ystyr i *crai*, megis *heat, the heart, fervid, vivid, potency, the eye of a needle*, &c. Er yr oll o'r ystyron hyn, ymddengys mai trosiad o *cri* yw y *crai* hwn; sef canu ei gri, hyny yw, canu ei *ofid*, ei *goll*, neu ei *anffawd*.

CANWYLLBREN.—Ystyr ymarferol canwyllbren yw offeryn i ddal canwyll, boed ef bren, careg, haiarn, pres, arian neu aur.

CARCWD.—"Cwdyn o hogyn"—o *carc* ac *wd* yn olddawd—"yr hen garcwd bach."

CAP GLAS—*Jelly fish, star-jelly*, chwyd awyr, chwyd ser, &c. Enw ydyw ar gruglwyth o lwtrach, ag yr haerir iddo ddisgyn o un o'r ser, ac a leolir yn naturiol yn minion y môr.

CAREG A THWLL.—Gair i ddynodi *gwagder* neu *ffregawd* rhywun am rywbeth yw *careg â thwll*—nid careg *a* thwll. "Melldithia Dduw a bydd farw," ebai gwraig Job wrtho. "Ti a lefaraist fel y llefarai un o'r ynfydion," oedd ateb Job iddi—*careg â thwll* yn ol yr iaith werinol. Gair *gwyntog*, fel twll mewn careg i wynt fyned trwyddi.

CARITOR.—Gair yn basdarddu o'r Saesneg.

CASEG EIRA—Pelen eira y plant. Anhawdd yw egluro *caseg* mewn cyssylltiad o'r fath yna. Caseg Eira, *Snow-ball* yw; Caseg Fagu, *Brood Mare* yw; Caseg Fedi, *Harvest Queen* ydyw; Caseg Forter, *Hod* ydyw; Caseg y Ddryg-hin, *Fieldfare* yw; Caseg Wanwyn,

*Wood-pecker* ydyw hyny. Sonir am chwedlau, yn neillduol rhai drwg, y chwyddant hwy bob ffordd y cerddant, megis y chwydda caseg eira yn nhymmor y gauaf gyda help y plant.

CASWIR—Gwir ag sydd yn codi atgasrwydd mewn dyn at ryw wrthun weithredoedd ag y mae yn euog o honynt ; gwir ag sydd yn peri euogrwydd cydwybod.

CAWDEL—Llygriad yn ddiau o *coddle* y Saesneg, ystyr yr hwn yw *berwi*, *go*ferwi, a *lled*ferwi. Y ddau olaf yw y cywiraf.

CEBYSTR—Y pren o *arnodd* aradr i'r gwadn, sef y pren o'r tu ol i'r cwlltwr.

CEFN.—Mae yn beth hynod fod y gair *cefn* mor fynych yn golygu *canol*. *Gefn* nos, *gefn* dydd goleu. Mae yr anifeiliaid yn *nghefn* y maes, &c. Y mae *cefn* creadur ar ei *ganol*· a dyna y rheswm fod priodolder yn *cefn nos* yn *ganol nos*.

CEFNOG.—Ystyr cyffredin *cefnog* yw bod yn dda allan, bod yn feddiannol ar eiddo, bod gan ddyn ddigon wrth *gefn*.

CEFFYL DW'R—Math o ysbryd drwg a ddychrynai fenywod yn amser yr hen dadau a'r hen famau.

CEGWM—" Hen *gegwm* gwirion " am ddyn cecrus, &c. Y mae *cegwm* yn egluro ei ystyr, sef *cecrus*. Ceg yw y gwreiddair, ac *wm* yw yr olddawd, fel yn deg*wm*, cid*wm*, cod*wm*, a cwl*wm*. Dyna ddosranau hanfodol *cegwm*.

CEILYS—Coesau egwein—yn gystal hirion ac anffurfiol. Y mae yn air hefyd am fath o flodeuyn a elwir *pink*. Eto, " Chware ceilys " y Gymraeg yw " to play at *nine-pins* " y Saesneg.

CEINTACH—Achwynllyd, anfoddog, cwerylus. "Ceintach wedi barn," medd hen ddiareb.

CELPAN—" Mi ro'f gelpan iti ; " neu, " Dyro gelpan iddo nes byddo'n troi." Gair arall i'r un ystyr yw *clewtan,* sef, " Dyro glewtan iddo," h.y., ergyd â *chledr y llaw.*

CERT—Tad y gair certwyn. Mae hwn ar arfer mor fynych a'r gair trol.

CLANDRO—Cyfrif. Anhawdd cael gwell darnodiad fel llygriad na *clandro* o *Calendar,* yr hwn yntau sy drosiad o'r Lladin *Calendarium*—llyfr cyfrifon i gofrestru dyledion. Gelwid ef felly am fod llog ar fenthycion yn ddyledus ar y Calendar, dydd cyntaf y mis Rhufeinig.

CLECHOR—" Yr hen *glechor* brwnt."

CÒL—Barf, neu frigau yr ŷd.

CLEDBEIO.—Cledrbwyo yw y gair i fod, yr hwn y sydd yn esbonio ei hun, sef *clewtan* neu *yslap* â *chledr llaw.*

CLEIFIS—" Yr hen *gleifis* gwirion." Ni ellir olrhain y gair *cleifis* o'r Gymraeg, mewn unrhyw fodd. Ymddengys oddiwrth y gair *gwirion* a gyssylltir ag ef, mai llygriad o *clwyfus* yw efe ; neu, ynte, droi y gair *claf* yn *cleifis.*

CLEIRIACH—Llesg, gwan, methedig, &c., yn ol ein geirlyfrau ; ond llafar gwlad a eilw hen neu ifangc fo ddibarch ar gyfrif segur fyw wrth bwyso ar eraill yn " hen gleiriach diog." Dichon mai *cleriach* oedd y gair ar y dechreu, a'i fod yn achlysur i ddeilliad sèn—" Bon y gler," o *clera.*

CLEMIO—*Clem,* tafell deneu, brin—arferir am ddarn cynnil yn nhrwsiad esgid—lledr, haiarn, &c., yn gystal ag am glwt teneu o fara ; prinder ac eisiau,—wedi myn'd " yn glem arno."

CLERTOG—Gair a arferir i ddynodi marweidd-dra a swrth-segura.—" Dos oddiyma i fwrw dy glert"; " Yr

hen glertog diog," &c. Nid oes amheuaeth nad *clerog* yw y gair, ond i *t* gael ei llusgo i fewn trwy rym arfer gwlad, yr un fath ag y daeth *p* i fewn yn *daethwyd* a *gwnaethwyd*, yn daeth*p*wyd a gwnaeth*p*wyd. Yr un modd *dd* yn rhyng*dd*ynt, gan*dd*ynt, &c. Wele eto air yn agoshau at *clertog* mewn sain ac ystyr, sef *Fflertog*, deilliedig o *flirt* y Saesneg, fel yr ymddengys, wrth yr hwn y golygir coegen, mursen, &c.—genethig wamal, segurllyd, fyddo'n treulio ei hamser i ymbingcio a chwedleua mewn ymgiprys â "gwirion hen a gwirion ifangc."

CLINGCWM — "Cadw clingcwm." Siaradach, sŵn drwg, lolian.

CLOMPAN.—Hwyrach mai *cloben* sydd yn iawn. Dywedir "cloben o ddynes," "cloben o gaseg," ond "clamp o ddyn," "clamp o geffyl"; "cloben o ffon," ond "clamp o bastwn."

CLOWCIAN—Cywion yn dechreu magu plu a chlowcian.

CLURO.—Arferir *cluro, gluro,* a *goluro*, yn gyfystyron. Yr ystyr yw *pardduo*, fel y sonir yn y Beibl am wraig y brenin yn myned at y proffwyd wedi gluro ei gwyneb, sef *pardduo* ei gwyneb, er mwyn *dieithro* ei hun rhag iddo wybod pwy ydoedd. Ond ar lafar gwlad arferir y gair i ddynodi casbeth ar un fo yn cadw sŵn yn nghylch rhywbeth o hyd o hyd, nes myn'd yn faich ar arall, megis, "dos oddiyna di i gluro, cluro i boeni dyn fel yna—cadw sŵn fel cacwn mewn bys coch." Eto, hwyrach mai *clyr—clyro—hornet*—cacynen y meirch—*gadfly*—drwg ei sŵn, olygir.

CLUSTOCHI—Cyfystyr â *bonclustio*.

CLWSTWR.—Gair cryf-eglur yw efe, cyfystyr â *cluster* y Saesneg.

CLWYF DIGWYDD—Clefyd y galon.

CLYWED.—Clywed eisio bwyd, clywed y bwyd yn dda, clywed y llaw yn brifo, &c., y byddwn ni bob amser. Nid oes rheswm i'w roddi tros y fath arferiad. Ond gan fod ein cenedl yn dyall mai am *deimlad* yr arferir y *clywed* hwn, y mae yn gwneyd y tro genym, ond nid gan genhedloedd eraill pe cyfieithid y naill am y llall.

CNEITIO.—Anhawdd gwneyd dim o'r gair hwn, os nad *caneidio* yw, sef *disgleirio*, *pelydru, tywynu.* Gair ydyw a arferir yn nglŷn â'r lloer.

CNWUAD.—Enw ar fath o nod ar ddefaid yw yr enw hynod hwn—llygriad, efallai, o cnoad, brathiad—*to gnaw—bite cut off*—ag ellyn neu arall, olygir. Deil sain ac ystyr felly. Brath dant neu frath cyllell—nod clust yw.

COETHI.—Defnyddir y gair hwn mewn ystyr dau-ddyblyg, neu â dau feddwl iddo; y naill yn golygu puro, glanhau, gloewi, &c., a'r llall, yn ol syniad cyffredin y werin, yn golygu *cyfarth*, megis, "Y mae'r ci yn coethi yn anghyffredin heno, beth bynag ydyw'r mater." Llythyrenir y gair mewn rhai manau yn *cweithi;* ond ymddengys mai *coethi* yw y cywiraf, er fod ei darddiad felly dipyn yn amheus, pa un bynag ai yn help ai yn rhwystr y byddo cyfarthiad y ci—croesawus ai gwrthwynebus, y mae yr arferiad hen o hono yn ddigon dealledig. Dichon ei fod yn deilliaw o *cy* ac *oeth*; neu, efallai, o *cy* (blaenddawd) ac *oethi.* Ystyr *oethi* ydyw annog, bygwth, cyffroi, cynhyrfu, ffrochi, &c.; felly y cant Gwalchmai ap Meilir—un o brif feirdd y 12fed ganrif :—

"Am bost câd, ced goeth, oeth ym uthrwyd."

COGMERTH—Co*e*gmerth, efallai. Merth yw gwâg, treuliad allan, dyhysbyddu, &c.

Colbio—" Mi colbia i di," am " Mi curaf di." Nid oes ddewin all ddyweyd pa iaith yw *colbio*, na pha beth ydyw ei ystyr priodol chwaith, os nad bastarddiad o *collop* y Saesneg ydyw.

Colmio.—Ceir ef yn *colmnio* a *comio*; yr olaf fynychaf. Arferir y gair yn y troad allan y gwartheg i dir fyddo at eu gwasanaeth—y gwaeldir—"y tir tan draed y gwartheg"—" y comis" ar dreigl llafar gwlad; yn ymarferol felly, i golmio neu grwydro'n ddi fudd, oddigerth a gaffont yn llėd fynych o law, pan fyddis yn dechreu cadw'r amaethdir i dyfu am y tymmor. Hen air a fynych arferid oedd, pan fyddai un wedi colli ei thraed yn herwydd diofalwch byd—" Nid oes dim i wneyd ond ei throi i'r comis"—dyna'r ffawd.

Colsyn — *Colsyn* pladur—llosgi yn *golsyn* &c. Ei darddiad, yn debygol, yw *coals* y Saesneg, a'r *yn* yn olddawd Gymreig iddo.

Colli.—Mae y gair hwn mewn arferiad i olygu y farwolaeth ddifrifol o grogiad, — " wedi ei fwrw i'w golli." Yr oedd yr hen bobl yn bur gwrtais mewn cyssylltiad â chymmeryd hoedl dyn ymaith yn ol y gyfraith.

Colli'r Cyr-dit.—Cyrdid, ac nid *cyr-dit*, yw y cywiraf—o *cwr* a *tid;* colli'r *cyrdid* yw colli *pen y llinyn.*

Cono.—" Hen gono diofal, braf," am ddyn boddlawn. Ystyr *cono* ydyw *pert upstart* a *smart fellow* y Saesneg. Ceir *con* y Gymraeg a *cone* y Saesneg hefyd yn gyfystyr.

Cotio—Dyhysbaddu hwch neu aner.

Crafaglach.—Nis gellir gwell darnodiad o ystyr y gair hwn nag a ddyry yr englyn canlynol i'r crangc:—

" Crafaglach cryf ei heglau,—o'i amgylch
Mae ymgyrch y tonau;
O tan gêl mewn cisten gau,
Gyw mantellog mewn tyllau."

Crawcian, crygleisio.—"Mae'r hen iar yma yn hwylio i ori, feddyliwn, mae hi'n dechreu crawcian." Dyna lên sylwadaeth y gwragedd gynt ar iar yn ymbarotoi, dan reolaeth greddf natur, i eistedd ar nythlwyth o wyau—gori.

Creisio—Llygriad, fe ymddengys, ar *cruise* y Saesneg, oblegid y mae geiriau, fel rheol gyffredin, yn cadw eu hystyron priodol pan y trosglwyddir hwy o iaith i iaith. "Creiswyr penwaig" y gelwir y rhai fyddo'n myn'd ar hyd a thraws môr neu dir i werthu penwaig. Hefyd, mae'n hen air ag sydd yn cael eu ddefnyddio am rai yn myn'd ar grwydr, yn ol arfer gwragedd gynt, yn debyg i'r hyn a ganlyn:—"Lle mae'r wraig yma heddyw?" ebai cymmydoges wrth ŵr y tŷ nesa'. "O! wn i yn y byd—mae hi wedi myn'd ar y criws i rywle."

Criglyn—"Bob criglyn o hono," sef bob *mymryn* o hono. Gair cryf yw *criglyn*, cyfystyr â *vestige*, eto â *track* a *trace* y Saesneg, yn golygu *ôl*, *olrhain*, *trwyadl*, *oll*, yn *gyfangwbl*.

Crimpen—Hen fenyw hynod ati ei hun, grintachlyd, ag ofn yn ei chalon gwel'd neb yn bwyta gormod o'i bwyd.

Gris-Croes.—Pan y byddo dyn yn gosod ei enw mewn nôd, am ei fod yn methu ysgrifenu, dywedir ei fod yn tori *cris-groes* fel hyn,—**X**, hyny yw, yn tynu llun croes yn arwydd o'i ymrwymiad. Tipyn o Babyddiaeth, medd rhywun; tipyn o Hynafiaeth, medd arall, nad yw allan o arferiad hyd y dydd heddyw. Yr oedd gosod yr "arwydd" ar bapyr yn ei gadw ar glawr yn wahanol i'r hyn fyddai gwneuthur yr "arwydd" yn yr awyr. Arferid gwneyd llun croes â'r bŷs ar y fynwes, er cadarnhau addewidion y naill i'r llall. Hefyd, pan fyddai plant

yn gwneuthur rhyw gyttundeb â'u gilydd, elai yn "Wnai di, wnai di," o'r ddau tu, ac yna yn "Gwnaf, gwnaf," ac wedi hyny yn "Cris-croes, rwan," a chroesid y bysedd—un yn gosod ei fys yn groes i fys y llall, ac yr oedd y cyttundeb ar ben. Yr oedd gan yr hen bobl barch mawr i'r Groes. Yr oedd cyfeiriadau ati ganddynt yn fynych iawn, ar groesffyrdd a phobpeth.

CROES.—Mae y gair croes yn cael ei arfer mewn dull penrydd iawn, megis croesbren, gwynt croes; croes, trwbwl; croes, gwrthwynebol; a'r hen ddiareb, "Gnawd gorphwysfa lle bo croes," am mai dan groesau i fyny ac i lawr, yma a thraw, y byddai yr hen Gristionogion yn dyweyd eu pader.

CROESAW.—Ymddengys mai *cro* yw gwreiddair *croesaw*, ac nid *croes.* Ystyr *cro* ydyw *round* a *curve* y Saesneg, yna daw *crôes* yn ddeusill, ac nid yn unsill fel *croes*, ond iddo gan dreigliad amser gael ei droi yn unsill, fel llawer o eiriau eraill; megis *rhoes, troes*, &c., am *rhôes, trôes*.

CROGBRIS.—Yr un peth yw *crogbris* ag *uchelbris.* Ystyr blaenaf *crôg* yw *uchel*, ac nid *croes.* "Croga hwn ar yr hoel," meddis, am godi hwn ar yr hoel, sef ei *godi* yn *uchel.*

CROWSIO—Llygriad, efallai, o *carouse*, yn golygu gloddesta ac ymyfed; neu o *grouse*, oddiwrth grwydro yma a thraw i saethu ceiliogod y mynydd.

CRWST—Crawen, crofen, crystyn bara. Annogiad buddiol callineb ydyw peidio tori torth boeth, er mwyn iddi gael amser i yfed ei chrwst, sef i dynu iddi ei hun galedwch ei chrawen, a thrwy hyny ymfeddalu nes dod i'r un dymheredd agos drwyddi. Yn mhlith pethau eraill, cyfrifir bara poeth yn niweidiol i'r iechyd.

CRWTH HALEN.—Mae y gair *crwth* yn arwyddo unrhyw gorff chwyddedig, pren wedi ei gafnu, neu lestr, ac felly yn ddarluniadol. Gair Cymraeg diledryw yw *crwth halen*, neu lestr i gadw halen.

CRYBIAD—" Yr hen grybiad." Yr un ystyr sydd i'r gair hwn â *crebach*, *crybach*, &c.

CRYLIAD—" Cryliad o botes," "cryliad o faidd," &c. Cryliau yw boliau, felly *boliad* olygir yma wrth *cryliad*.

CRYNFFAST—Gair cymmysgryw—Cymro a Sais wedi ymbriodi nes bod yn un, fel y digwydd yn fynych mewn gweithred yn mhriodasau'r wlad. *Cryn* o *crwn*, *llawn*, &c. *Ffast—fast*, cadarn a hoew—yn golygu " crynffast o hogyn bywiog a chryf," fel yr awgrymmid yn mharabl naturiol a dihoced ymddiddanion yr hen bobl.

CRYWC-WELLT.—Math o wellt garw fyddo'n tyfu rhwng dannedd clogwyni adwaenir wrth y cyfryw enw. Nid oes genyf ond dyfalu mai y gair grugwellt *(heath-grass)* wedi ei lygru mewn llythyreniad olygir wrth y fath enw hynod.

CWIT.—Ceir *quit* yn nglŷn â rhybuddion i symud o leoedd, a sonir am *Notice to quit* ar amserau mewn oslef brudd. Tybiwn mai nid hyn ddeallir wrth y gair gwerin yma, ond cyflymder, buandra, prysurdeb, &c. Cerddwr, rhedwr, negeswr cwit heb ei fath, ddywedir—cyfystyr â *quick* y Sais—*be quick*, *quick march*, &c., a gwyddir nad yw troi *ck* yn *t* yn gamp yn y byd i dafod gwlad os dewisa.

CWRBITS—Cur-o-fa, bi(r)ts—*birch*—bedwen — curfa-fedw, fel yr ymddengys. Tra mae y wialen fedw yn ddyrchryn y tŷ, yr ysgol, a'r llys gwladol, ceir hi felly hefyd yn llafar gwlad o ran ystyr—yn mygwth, a rhoi *birts* a *cwrbits* mewn rhyw ysgarmes o hyd. Gair arall cyfystyr o ran gweithred yw *cwrban*.

CWRCWD—Crymedd, gwargam, gwargrwm, y gath yn ei chwrcwd, fel pe yn barod i roi naid.

CWRNAD—O *cŵr* a *nâd,* sef *sisialu, hunan-fwmian, gwddfnadu,* &c.

CWRTAIS.—Yr wyf yn hysbys o'r hyn olygir wrth yr ymadrodd "Peidiwch bod mor gwrteisiol," &c., pan byddo rhywun yn gommedd cymmeryd bwyd yn nhŷ cymmydog neu arall, ond beth yw tarddiad *cwrtais* nis gallaf ddyfalu, os nad yw yn fath o lygriad o *courtesy.*

CWTSIA, neu CWTSIO.—Erchi er attal ymosod; ar i'r ci adael llonydd i'r praidd, &c. *To couch*—yn cyfateb mewn sain ac ystyr,—*to be quiet, be down—squat*—swatio. "Mi dy swatia i di" ebe'r naill hoglangc wrth y llall fyddo yn o gïog ei glebar.

CWTHWAL.—"Hen gwthwal tlawd," sy ddywediad cyffredin am fwth o dŷ llwydaidd yr olwg arno. *Cwth* yw *gogwyddiad* neu *dafliad ymaith.* Gan hyny, *cwthwal* yw *gwâl-ogwyddiad,* neu *adfail* o dŷ.

CYFF.—Byddai yn yr hen Eglwysydd fath o gist neu goffr bychan, pur gadarn, o'r enw *cyff,* wedi ei sicrhau yn rhywle tua'r drws. Byddai arno gauad a chlô clwt *(padlock),* ac yn nghanol y cauad fath o hollt pwrpasol, fel yn nghanol *cadw mi gei,* trwy yr hon y byddai pobl haelionus yn rhoi arian yn y coffr i'r tlodion. Yn mhen y flwyddyn byddai'r Person a'r Wardeiniaid yn ei agoryd ac yn rhanu ei gynnwysiad rhwng tlodion y plwyf.

CYFFYRDDUS.—Comfforddus yw y ffurf Feiblaidd.

CYNSIDRO — Cymreigiad o *consider,* sef ystyried. "Gwell ichwi mewn sadrwydd gynsidro mewn pryd," meddai hen gerdd.

CYMANES—"Yr hen gymanes." Am fenyw, boed o'r rhyw y bo. O *cwmanes,* yn debygol, am mai *cleren,*

*gwar y gynffon* yw ystyr cwman yma. Yr ystyr felly yw "yr hen *gynffones.*"

CYMHORTHA.—Arferai yr hen bobl gynnorthwyo eu gilydd i gasglu ŷd, cario mawn, neu godi tŷ, &c. Gelwid yr hen arfer *cymhortha.*

CYNHININ—Cynhinin o bapyr neu edefyn hirfain. Pe byddai i ddyn neu fachgenyn eiddil a thâl ddyweyd gair na byddo yn unol â syniad un arall, hawdd iddo fyddai cael yn ol yr hen werinair "Taw yr hen *gynhinin* gwirion." Yr hyn y gallaf fi ddweyd am y gair hwn ydyw, mai *enw* yw yn ol trefn iaith, ac am y cyfryw reswm *yn* ddylai yr olddawd fod, ac nid *in.*

CYRBEIDIAU—Gair arferedig pan roddir pytatws, &c., braidd yn ormodol ar eu gilydd, megis "wedi eu bwrw yn *gyrbeidiau* ar eu gilydd." Ni cheir *cyrbaid* na cyrbeidiau yn ein Geirlyfrau. Dichon mai *cŵr-paid-iau* yw ei raniadau. Try *cŵr* i *c*yrau yn lliosog. Ystyr *paid* yma yw *tòr, ymattaliad, gorphwysiad. Tyrau* i *orphwys* mewn cŵr ar eu gilydd, gan hyny, yw *cyrbeidiau.* Eto, gall mai *g*yrbeidiau yw y gair iawn, o *gŷr,* h.y., *haid, twr,* &c.; a beidiau—lliosog o beidiog; h.y., grymus*ion,* egn*ion*, &c. Yr ystyr felly yw *gorlwythion.*

CYRIALWM.—"Dos oddi yna y cyrialwm," meddir. Coeliaf mai llygriad yw o *carnialwm. Carnial* ydyw *troedio, carnfaeddu,* sef *cicio. Carnialwm* yw *troedfaeddwr.*

CYRMOWTA.—Gair arferol am *grwydro* a *chwilio.* Coeliaf mai *mewyd* a *mewyda* yw y gwreiddair, sef *cylchdeithio, llechu, ysgelcian, ystelcian,* &c.

CYRNEWIAN.—"Cyrnewian fel cath," ebai'r hen air. Coeliaf mai mewian yw gwreiddair y "cyr*n*ewian" hwn,

ond byddai cyr*m*ewian yn afreolaidd i deithi y Gymraeg. Gwna cyr*f*ewian y tro, trwy droi yr *m* yn *f*.

Cyset — Cysetlyd, cysetan, cysetyn. Gair a chymmeriad amrywiog ei ystyron yn dra chyffredin ar lafar gwlad — llygriad yn ddiau ar y Saesneg *conceit*, yn golygu un hunan-dybus am ei pob-peth gydag anffaeledigrwydd disyfl—" yn biniwn i gyd "—*o duedd neillduedig*, " heb fod yn debyg i neb mewn dim "—na bwyd, dillad, nac arferion cymdeithasol—" yn fyw o gysêt." Er nad yn 'swil na mursenaidd, eto yn ofer-gwrteisiol—yn faich iddo ei hun ac i ereill, gan orofal rhag rhoï trafferth na thraul dybiedig i neb — " yn gysêt bob tamaid o hono." Ond o radd i radd, yn ol ymdeithiad amser, tueddwyd meddyliau newydd at chwanegu ac arferu math arall o gysêt—cysêt llên—cysêt o ymhoffedd, heb na sèn na cherydd yn dybiedig ynddo: felly y dynodid yr hen ffafr-dônau a'r caneuon amser fu—*(fancy delight)*. " Cyset gwŷr Harlech " y gelwid yr hen ryfel-dôn odidog hono gynt. Yn gyttun â hen ddefodau, gymmaint ddatganwyd ar yr hen dôn syml " Diferiad y Gerwin "—" Cysêt Sion Morys y Jockey " fel ei gelwid gan hen gymmeriadau tra hoff o sudd yr heidden. A phwy o'r tadau na wyddynt gân " Y pren gwrddlas "—" Cysêt hen Gôg y Berch " fel ei gelwid hithau?—Cyfystyr a'r gair *Mwynen* — " Mwynen Gwynedd," " Mwynen Morganwg," ac eraill o hen dônau hudol Cymru fu.

Cystwyo—Ceryddu, darostwng, &c., ond cyferfydd amlygiad cyflawnaf ystyr y gair yn mygythiad hynafgwr at fachgenyn nwyfus a di rôl, yn y dull canlynol:—" Wela hai! wy'st ti beth hogyn, os na fyddi di 'n llonydd, mi *cystwya* i di."

## CH.

CHWAT.—Ni bu erioed *chwat* ymgyfrif rhyngddynt." Ceir ystyr *chwat* yn y gair *chwit-chwat*, sef *anwadal, diddal, dilun*, &c. Hyny yw, ni bu erioed *lun (chwat)* ymgyfrif rhyngddynt, sef talu ychydig *rhywsut* a *rhyw-bryd*, heb wneyd cyfrif teg.

CHWILBOETH.—"Mae'r dwfr yn chwilboeth." Ystyr *chwil*boeth yw *boiling hot*. Ystyr *chwil* ydyw *tro* a *troi*, fel yn *trobwll*, sef *whirlingpool*.

CHWILGI.

CHWILOTA—Ymchwilio aflwyddiannus. A darndebyg yw *jowlfa* o ran ystyr.

CHWIM-CHWAM—" Chwim-chwam-chimmwth."

CHWIPIO — "Chwipio rhewi." Ystyr *chwip* ydyw *prysur;* felly *chwipio rhewi* ydyw *rhewi cyflym, rhewi yn ddwys*, &c.

CHWIPYN.—Gair Cymraeg da yw *chwipyn* am *quick turn*, sef *troad buan*.

## D.

DAFYDD JONES.—Sonir llawer am y môr dan yr enw Dafydd Jones, am ddefaid Dafydd Jones, &c. Direidi rhywun yn y dechreu a barodd enwi y môr yn Dafydd Jones, fel y gelwir y gwynt yn *Morys*. Cynnrychiolydd lleol y gwynt yw *Morys*, fel y mae *Rhys* yn gynnrychiol-ydd lleol iddo mewn manau ereill. Digrifwch gwerinol yw enwau o'r fath, yr un modd ag y dywedir mai Cymro oedd *Adda*, ac mai *Jones* oedd ei gyfenw—*Adda Jones*.

DALLT.—Y mae *dallt* a *deallt* mor gywir ag yw *deall*, yr hyn a welir yn *dallt*wriaeth a *deallt*wriaeth.

DAUERYDD.—Mae y ffurf *dauerydd* ar goll oddigerth yn mhlith brodorion y mynyddoedd. Ymddengys ei fod

yn air hen—ar lafar cyffredin yn amser Owain Gwynedd, o leiaf bedwar cant o flwyddau yn ol, fel y dengys y llinell—

"Dirwyn megis dauerydd"

yn un o Gywyddau Ymryson Owain Gwynedd â Wiliam Lleyn. Dyma brawf arall o draul a threigl y cyfryw air, allan o Gof-gell gynnwysfawr y sylwedydd craff Mr. Robert Thomas, Monachdy Bach, Llangybi:—"Lliosog o *dauar*, sef *daear lwynog* yw *dauerydd*—dyna fydd pobl y Bwlch Mawr yn ddyweyd am y lliosog o *dauar:*—Gŵyr John Hughes am bob dauar lwynog.—Gwyr Owen Price am y dauerydd i gyd."

DEDDFU—"Deddfu dan wres." *Dyddfu*, 'n debygol, gair Beiblaidd, *pale*, *faint*, *fainting*, &c., yn dynodi teimlad llethol dan wres dydd tanbeidiol. Gormod o ddydd i'w ddal gan wan-wr—nes teimlo ei natur yn ymlesgau gan bwys y dydd a'r gwres. Gair tra mynegiadol.

DEST—"Dest a marw"—*just dying*—y llythyren *j* yn troi yn *d*, a'r *u* yn *e*, fel mewn siamplau eraill.

DIBYN-DOBYN — *Dinben-drosben, pendramwnwgl,* sef *topsy-turvy* y Saesneg.

DICAL—Tic—ticyn: al—ial yn olddawd tra mynych. Ceir y gair yn amrywio yn dical, ticial, a tingcial—*tingle, a small drop*, "*to tinkle—to draw the last drop.*" Dyna'r *armael—diwedd godro,* sef yr *ail laeth.*

DICRA.—"Rwyt ti'n *ddicra* iawn o'r bwyd yna," meddir, pan bo rhywun yn lled ddi awch iddo. *Bychan*, *egwan*, *eiddil*, &c., yw *dicra*. Hefyd, *alarllyd, cyfoglyd*, *gwrthneugar*, a *gwrthwynebus.*

DIHARFFU—"Yr wyf wedi diharffu'n lân." Yr ystyr yn y froddeg yw *blino, diffygio*, *llesgau,* &c. Am

darddiadau y gair rhyfedd hwn—*diharffu*—nis gallaf fi eu chwalu.

DILI-DO y gelwir un fyddo'n gwag-siarad yn ddibwrpas, ac yn gwneyd hyny, fynychaf, er mwyn gwario'r amser, yn lle myn'd at ei orchwyl. "Dos oddiyna di at dy waith neu at dy lyfr—yr hen ddili-do gwirion."—Onid yw yn debyg iawn i *dilly-dally* ein cymmydogion? Gellir chwanegu fod y gair yn cael ei ddefnyddio fel mabaniaith heb ystyr yn y byd iddo, ond rhywbeth i foddio yr un bychan yn ei fagwraeth.

DILOWRYDD.—Gair arferedig am ddyn anghelfydd yn ei waith. A'i gymmeryd yn ei raniadau ieithyddol—*llaw* yw y gwreiddair; *di* yn flaenddawd, a *rhydd*, sef *rydd*, yn olddawd. Cyttuna felly â'r ystyr sydd iddo ar dafod y werin, sef diamcan, dilun, diraen arno ei hun—ar a wnelo, ac ar bob peth a berthyn iddo. "Wel, y y mae o yn greadur dilowrydd, rhad arno."—Ebwch gwlad.

DINAD MAN.—"Dinod fan," yn ol rhai, sef llecyn neillduedig. Llygriad, coeliaf, ydyw *dinad* o *eidduned*—yr un peth â dymuniad. "Man Eidduned" y dylai fod yn unol â theithi y Gymraeg, sef *man addewid, adduned, eidduned;* neu *fan dymuniad.* Y mae *eidduned mân* yn an-Nghymreigaidd.

DIODLES.—Gweddillyn o hen gyfeiliornad defodol yw y gair hwn. *Diod gladdu* a *diod cynhebrwng*, olygid wrth y cyfryw. Wedi gosod yr arch ar yr elor, trefnid arno fath o gacen a dryll o gaws, yn yr hwn y dodid darn o arian, yn nghyd a llestraid o gwrw. Yna estynid y cwbl dros y corff i ryw un tlawd fyddai wedi ei bennodi i'w derbyn. Gelwid hyn *diod les;* ond diben cableddus oedd i'r arferiad, sef *cymmuno dros y meirw!*

Y gacen a roddid yn cynnrychioli y bara, a'r ddiod yn cynnrychioli y gwin yn y cymmundeb! Erbyn hyn y mae yr arfer Rhufeinig hwn wedi ei droi heibio er's oddeutu 90 mlynedd yn y Sir hon.

DITAN.—Did*a*n a did*e*n yw *teth* y fron, sef *nipple* a *teat* y Saesneg.

DIWEDD-DRA.—Cyfystyr mewn arferiad ag *oediad*, *gohiriad*, neu *bwriad heibio.* Dichon y cymmer ei ystyr o *dra-diweddar, oediad hyd yr eithaf,* neu yn fwy priodol, efallai, *diweddiad.*

DORMACH—*T*ormach, sef *forfeit of bail* y Saesneg; o *tor* a *mach;* hyny yw, tori *machiafaeth.*

DOWCIO.—Rhaid i wyddau gael dwfr i ddowcio ynddo.

DOWCHAL.—"Dowchal bwrw gwlaw," "dowchal fel o grwc," &c. Llafar-ddull lleol yw *dowchal* am *dychwel.* Y mae "*bwrw* gwlaw" yn wallus. *Gwlawio* heb y *bwrw* sydd yn gywir; ond *bwrw* ôd, a *bwrw* eira.

DOW-DOW—"Cerdded dow-dow," sef wrth ei bwys—yn araf. Yr *a* yn d*a*w-d*a*w yn troi yn *o* yn d*o*w-d*o*w, trwy lafar gwlad.

DRIB-DRAB—Dryllynau, man-ddrylliau, tipynach, &c., yn rhanau toredig, annghyssylltiol, lle y dylid cael cyfanrwydd.

DROFYN — Talfyriad o *darofyn.* Dylai tolnod fod ynddo, sef *d'rofyn*, i gynnrychioli yr *a* doledig.

DRWDWST.—*Trwd* yw tryddedu, *treiddio, heinio, trydaenu,* &c. *Wst* yw yr olddawd enwol, yn gyfystyr â *treiddiad*, *tryddediad, heiniad*, *trydaeniad.* Wrth yr enw *drwdwst,* yn fwyaf neillduol, yr adnabyddir math o adar a arferant ddilyn eu gilydd yn heidiau tra lliosog ar adegau neillduol.

DUL ANWYL!—"O! dul anwyl dad." Ystyr *dul* yw *dyrnod.* Llygriad o *Duw* yw y dul hwn yn ddiau, sef y llw, "O Duw anwyl Dad."

DWDDU.—Pan fyddo buwch yn pyrsio cyn bwrw llo, dywedir ei bod yn dwddu. *Dydd* yw y gwreiddair ac nid *dwdd.* Dweyd bod buwch yn *dyddu,* yw ei bod yn *dyfod i'w dydd,* i fwrw ei llo.

DWNDRO — *Bragaldio, bragaldian, baldorddi, llolio, clebran, brygawthio, ffregodi,* &c., o *dwn* a *tro,* fel yn *dwnad.*

DWYLO BLEWOG.—Wrth hyn y golygir dwylaw yn methu gadael eiddo ereill yn llonydd.

DYFFEIA—"Mi dyffeia di." Ffeio yw *dirmygu,* gyru un i *gywilydd*—o *ffei,* fel yn *ffiaidd.* Ond llygriad yw *dyffeia* yma o *defy* y Saesneg, sef *herio.*

DYGATO PAWB.—Llygr-ffurf o'r geiriau *Duw gadwo bawb,* ydyw y term *Dygato pawb.*

DYGAWIO—"Dygawio am bobpeth." Y gwreiddair yw *caw,* i'r hwn y mae lliaws o ystyron. Ystyr y gair dy*gaw*io ydyw *traflyncu, rhwth-fwyta,* &c. Ni cheir yr enw *dygaw* na'r ferf *dygawio* yn y Geirlyfrau.

DYLLYFAN.—Gan y werin golyga, yn fwyaf neillduol, fenyw glauaraidd, hanner effro, a lledchwith.

## E.

EGRYN—"Nid oes dim egryn o wynt heddyw." Y mae *egryn* yn gyfystyr âg *egryd,* ac yn golygu *trembling* y Saesneg, o *cryd* a *cryn,* sef gwreiddeiriau *echryd* ac *echryn,* Ystyr "Nid oes dim *egryn* o wynt heddyw" yw, "Nid oes dim *rhuthr* o wynt heddyw.

EIDDEW—Iorwg. Mae eiddiorwg yn *glassical.*

EIGIAN.—*I*gian ddylai y gair fod yma, er fod eigian yn air hefyd. *Ig* yw yr enw, a'r ferf yw *igian*, sef yr *hiccup* yn y Saesneg, yr hwn sydd ar bawb ar amserau. Y mae yn dyfiant i blant, ac yn nychdod i hen bobl.

EIRWLAW—Dim yn *eira* a dim yn *wlaw*.

ENNILL EI BEDOLAU.—Pan bo ceffyl yn ymdreiglo ar gae, ac yn troi ar ei gefn o ochr bwygilydd, byddwn yn dyweyd ei fod yn ennill ei bedolau. *Ennill* yma a olyga *codi* neu *ddyrchafu*, sef *codi ei bedolau* i fyny.

EURACH, a olyga, gan y werin, blentyn annhringar. Llygriad ydyw o eur*y*ch. Heblaw yr ystyr o ôf *aur*, golyga hefyd *tincerdd*, sef crwydryn, o *tin* a *cerdd* neu *cerdded*, cyfystyr a *tinker* y Saesneg.

EWA A BOBA.—Ewythr a Modryb.

## F.

FEI.—Pan fyddo rhywun neu rywbeth wedi bod ar goll ac wedi dyfod i'r golwg, dywedir ei fod "wedi dyfod i'r fei." Ymddengys mai llygriad deilliedig o *view* ydyw.

FESUL TIPYN.—Y meddwl yw o *fesur ychydig*.

FOEDIAR—Math o lestr gwastad-grwn at ddal bara ceirch ar fwrdd. *Bwydiar*, coeliaf, yw y gair, sef *voider*.

## FF.

FFAGIO.—Y mae ffag y Gymraeg a *fag* y Saesneg yn gyfystyr, sef baeddu, curo, llesgau, ymflino. Yr un ystyr hefyd y sydd i *ffagod* a *faggot*.

FFALS.—Yr oedd yr hen air *ffals* neu *ffalst* mor adnabyddus i'n tadau, fel y cymmerodd ei le yn llawnder ei ystyr, yn mhlith yr hen ddiarebion Cymreig,

megis "Ffals ydyw gwaed"; ac y mae heddyw ar lafar gwlad mor fyw ag erioed.

FFARDIALS—"Yr hen ffardials." Llygriad o *fardel*, coeliaf, sef *sypyn*; a ffardials yw sypyn*au*.

FFAT, a olyga darawiad ysgafn â llaw agored.

FFILBRIN—"Gwlychu'n un ffilbrin." *Ffil* yw *cynffon*; *ffilbrin* ydyw *cynffon gwta*—o *ffil* a *prin*.

FFILSYN-FFALSACH—"Taw yr hen ffilsyn-ffalsach."

FFODONOS—"Rhyw ffodonos bychan." Y mae *ffawd* yn troi yn *ffod* yn *ffodus*. Nis gallaf wneyd dim o *ffodonos*.

FFRIGWD.—Ffr*w*gwd yw y gair iawn, sef *ffrae, ymrysonfa, ymgiprys*, &c.

FFRILYN—"Yr hen ffrilyn." *Ffril* yw *ychydigyn*.

FFRITYN—"Yr hen ffrityn"—"Ffritian gweithio." *Ffrit* yw *ysbonc*, *llam*, *naid*.

FFRWT—"Ffrwt-ffrwt"—uwd yn berwi.

FFWLGNA'—Dyn cyfrwysddrwg, dichellgar.

FFWNDRO.—*Ffwndwr* ddylai y gair fod, yn gyfystyr â *phendro*, sef *hurly-burly*. Llygrir ffwn*dwrw* yn ffwn*dro* fel berf.

FFUST — Offeryn a ddefnyddid i ddyrnu ŷd, ac i wahanu y gronynau oddiwrth yr us. Ei nodwedd—"Mi ffusta i di," yr hyn olyga gurfa defod y wlad i weilch haeddant eu dyrnodio yn effeithiol. Erbyn hyn, nid oes un mab yn y wlad yn gwybod pa sut i ddyrnu â ffust, nac un ferch yn gwybod sut i nyddu â throell.

FFYS—Gair Saesneg wedi llygru ei lythyreniad, sef *fuss*; h.y., *ffwdan* y Gymraeg. Yr un cynaniad a roddir i'r naill fel y llall.

# G.

GAWDI — " Y *gawdi* plant yma." Anhawdd yw gwybod beth ydyw *gawdi.*

GEM, GEMAU.—Dyna fel y geilw pobl rhai lleoedd y *cèn* sydd ar bysgod. Y mae yr enw *gem* yn eithaf hapus, am fod *ceni* pysgod yn tebygoli yn eu disgleirdeb i *berlau* neu *emau.*

GILDIO—" Gildio penwaig." Gildio gan amled ag odid air ar lafar brodorion môrlanau Lleyn ac Eifionydd, pan oedd pysgota penwaig yn ei fri ynddynt ddyddiau fu. Di-dagellu a thynu ymaith y rhanau cyssylltiol hyny o'r pysg, er eu glanhau a'u cymhwyso at eu coginio, neu at eu halltu er hir gadwraeth. *(To cut off the gills—to geld herrings).* Yn ol arfer go gyffredin gynt, un o weithredoedd canmoladwy yr hen bobl oedd toddi tagellau penwaig, a defnyddio eu saim at wneyd canwyllau brwyn, yr hyn a ystyrid yn werthfawr a gwir angenrheidiol fel cyfraniad cyfaddas i'w sefyllfa tuag at eu cynnaliaeth, er nad hyd lawnder.

GLEUOD.—Gl*a*iad a gl*e*iad yn y Geirlyfrau. " Na'i fin *glauhaden* o fwg," ebai yr hen fardd godidog W. Lleyn. Tail gwartheg wedi sychu yw *gleuod* ein parthau ni.

GLYSYGU.—" Bron glysygu o eisio bwyd," ar leferydd gwlad ; ond *gloesygu,* yn golygu llewygu, llesmeirio, &c., yn ol y ffurf ysgrifenedig.

GORLLAN—Gorlanw, penllanw, &c. Yn yr arferiad o hono yn llafar gwlad, golyga brofedigaeth yn sefyllfa dyn—yn nglŷn âg amgylchiadau bywoliaeth, fynychaf—ei bod " wedi myn'd i ben y gorllan arno," sef myned i'r pen—i'r diwedd.

GRIATUR.—Llygriad arferedig o'r gair Seisonig *grater*, sef *rhisellt, rhathell, crafell*, &c.

GRINDIL (*Grindiron*).—Enw tân-offeryn tebyg i wyneb grât, ond gyda'r chwanegiad o goes a osodid wrtho, er hwylusdod a diogelwch rhag llosgi dwylaw, ydyw *grindil*, yr hwn a ddefnyddid at frwylio (*to broil*) cig neu bysgodyn. Cydnabyddir, gan amlaf, mai o'r Gymraeg y deillia — graid, greidio, poethi, twymo, crasu ; greidell, gridill, &c. Ceir *griddle*, *griding*, &c., ar ei gyfer gan y geirwyr weithiau, a phetrusir a oes i'r llythyren *n* le ynddo drwy deg. Ond cymmer gwerin ei chenad i wneyd fel y myno, wrth ei harfer ei hun yn hyn, fel yn mhobpeth arall, a dywed *grindil* mewn rhai parthau—*gridil* mewn parthau ereill, heb ruso dim. Yn y defnydd o hono yn llafar gwlad, golyga driniaeth lem ar droseddwr—" Rhostio dyn yn fyw " y bydd y Sais ; ond ei " Roi ar y grindil " wna'r Cymro ; a gwae y gŵr a haeddo ac a brofo y gollfarn hono arno—pynag ai ar bapyr ai ar dafod y byddo.

GRYDFAN—" Y grydfan gwirion." *Gryd* yw *grunt*, hyny yw *grwgnach*.

GWALDRAS, yn briodol, yw *gwelygordd*, sef *kindred* a *tribe* y Saesneg ; ond *gwardres*, sef ergyd ar y wàr, yw syniad cyffredin gwlad am y cyfryw air, er ei fod yn hollol gyfeiliornus felly o ran ei darddiad.

GWALLT Y FORWYN—Enw ar fath o gwmmwl neillduol, ond nis gwn ei ystyr.

GWANTAN—*Anwadal*, *anwastad*, *gwamal*, ac *oriog*—sef yn gyfystyr â *fickle* y Saesneg.

GWARODEN.—Dichon mai gwareden oedd y gair ar y dechreu, sef gwialen yn *gwaredu* rhag anufudd-dod a phenrhyddid.

GWEDD—*Gwedd* y feirch—*gwedd* o ychain. Y mae i *gwedd* fwy nag un ystyr : 1, *Yoke,* megis *pâr* o ychen, *gwedd* o ychen, *yoke of oxen.* 2, *Yoke-fellow,* cyd*wedd.* 3, *Prayer, gweddi.* 4, Ag*wedd,* nod*wedd, gwedd*nod, gwneb*wedd,* ar*wedd,* &c. Yr olddawd lliosog i *gwedd* o ychen yw *oedd,* sef *gwedd*oedd.

GWEGIAN — Gair a ddefnyddir i ddesgrifio dyn neu rywbeth dan faich trwm neu lwyth mawr.

GWEP.—"Yr hen wep" a'r "Hen wepa," am wyneb a dull y wyneb.

GWIGIL—Gwygl, mwygl, mwll, mwrn, twym, &c.

GWILHOBAIN—"Dos oddiyna i wilhobain." *Carlam* neu *gallop* feddylir wrtho.

GWIRION.—Un diniwaid, glân, dieuog, diddrwg, &c. Dyna oedd ystyr foreuaf y gair, ond erbyn hyn un disynwyr yw ei ystyr. Y mae canrifoedd o amser yn newid ystyr geiriau.

GWLITHWLAW—Dim yn *wlith* a dim yn *wlaw.*

GWRACH — "Yr hen wrach" a'r "Hen wrechyll." Gwiddanes, crepachen, &c. Gwrach y lludw, gwrach y rhibyn, gwrach y twca. Hefyd Blaen-gwrach, Nant y wrach, Tyddyn y wrach, &c.

GWYBETA.—Pan bo rhywun yn sefyllian o gwmpas, gofynir "I beth yr wyt ti'n *gwybeta* hyd y fan yna?" Yn wreiddiol, ystyr y gair *gwybeta* ydyw *dal gwybed, gwybed* yn enw a *gwybeta* yn ferf; y *d* yn troi yn *t,* fel yn bwy*d*, bwy*t*a ; llygo*d*, llygo*t*a, &c.

GWYDD — "Aradr mewn rhai manau, mewn manau ereill, gwŷdd aradr, lliosog gwehyddion. Gwŷdd (gwehydd), lliosog gwehyddion, yw yr enwau hefyd am *weaver* a *weavers.* Fel y bydd y gwehydd yn taflu'r wennol (*shuttle* o *to shoot*) o ochr bwygilydd i'r wê wrth

wau, felly bydd yr aradr yn myned o ben bwygilydd i'r cae, bob yn ail, wrth aredig; a dyna, yn debygol, ydyw yr achos ei fod yn cael ei alw gwŷdd (gwehydd)."

GWYFWCH—" Yr hen *wyfwch* digychwyn,"

GWYLAN—" Llyngcu fel gwylan." " Yr hen wylan." Golyga *gwylan*, heblaw aderyn y môr, *hoced*, *hud*, *lledrith*, &c.

GWYRDA—Gair sy bron dros gof gwlad, a arferid i ddynodi *noblemen*, sef pendefigion, arglwyddi, goreugwyr, uchelwyr, &c.

## H.

HAFLUG—" Yr hen haflug." Ystyr *haflug* yw *amledd*, *amlder*, a *llawnder*. Hefyd, *ffaeth*, *ffrwythlawn*, a *helaeth*.

HAFFLAU.—O *haff* yn ddiau y deillia *hafflau* a *haffleu*, yn gyfystyr ag *affleu* gan T. Richards, sef "*the bosom, lap.*" Ystyr *haff* yw *catch* a *snatch*, sef *cipio*, *crafangu*, &c. " Haffio am y cwbl."

HANTICS—Llygriad o *antics*, sef *digrifion*.

HARLLIO.—Har*l*io, ac nid har*ll*io, yw y gair yn briodol. Ystyr *harl* yw *cecru*, *ymgecru*, *ymeirio*, *baldordd*, *dadwrdd*, *dwndwr*, ymrafael; sef *jangling* a *wrangling*.

HASAT — "*Hasat* garw iawn." Yr ystyr iddo yw *risk*. Nid ymddengys ei fod mewn Geirlyfr. Y mae yn debyg iawn i air Seisnig, megis *assert*, *assort;* ond y mae yr ystyron yn wahanol.

HAUL-GAERAU—Machlud haul—*sunset.*—Hen ddywediad am yr haul yn myn'd o'r golwg dros y gorwel. Ceir yr eglurhad hwn yn Caergwydion, *Milky-way*. Dyna eto, "Mae'r haul dan ei gaerau." Hefyd, dywedir

"Haul yn myn'd i'w gaerau." Yr un ystyr yn ddiau sydd i'r ddau. Mae'n aros mewn amlygedd mai perthyn i Sir Gaernarfon y mae yr hen enwau ar y cyd-ser adnabyddus fel Llys Don—Caergwydion, a Chaer Arianrhod—ac yma *Haul-gaerau.*

HEDLAM—Cam, pan fyddo'r troed olaf wedi ymadael â'r llawr, cyn y bo'r llall yn ei gyffwrdd.

HENGC—"Mae rhyw hengc ynddo"—cloffni—"Hengcian cerdded."

HELCYD—"Helcyd o'r naill fan i'r llall." Ymddengys ei fod yr un peth â *helcu,* sef, *chwilota, manwl-chwilio, neu chwilio yn ofalus.*

HENFFEL—Bachgen neu eneth *henffel* yw *henach na'r oed,* sef un chwech oed can galled ag un deuddeg oed yn y cyffredin.

HETH.—Mewn rhai ardaloedd arferir *heth* am haen o eira trwm yn cloi y ddaear, ac yn atal pob llafur. Yn briodol, ymddengys mai llygriad o *heath* yw yr *heth* hwn, heb un cyssylltiad rhyngddo â na *rhew* nac *eira,* ond fod y parthau yr arferir ef wedi dodi yr ystyr hwnw iddo. Y Cymreigair am *heath* yw *grug,* a *grugos.*

HISLAN.—*Hislan,* unig ; his*lod* lliosog. Dyna fel yr arferir galw *llau defaid.* Hislan*od* y dylai y lliosog fod o *hislan,* ac nid his*lod.* Y mae hisla*u* yn fwy priodol na hisla*n.* Tybygol mai llygriad yw y naill a'r llall o *yslau,* sef *llau yn ysu.*

HOGYN — *Bachgen ;* lliosog *hogiau. Hogen,* lliosog *hogenod.*

HONGLAD—"Hen honglad o dŷ." Er na cheir *honglad* mewn Geirlyfr, eto ymddengys yn ddigon Cymreig ; sef *hong,* uchel, a *hongian,* crogi i fyny ; a *llad,* sef *favour, gift* a *blessing. Hong* hefyd yw *hang* y Saesneg.

HOIT.—Math o chwip fawr, hir, fel gwialen bysgota, a ddefnyddid wrth yru gwageni tra trillun neu bedwar o geffylau yn eu tynu. Mewn rhai manau *hoit* yw *hwt*, sef *taflu ymaith*, a *hoitio* yw *lluchio*. Nid yw yn Gymraeg. *Hoity-toity* y Saesneg yw *ha-hai-haio*.

HOLPYN—"Taw yr hen holpyn." Yr un peth yw *holp* ag *olp* ac *olpai*, sef *dolen*. Twll *olpai* ydyw *eyelet-hole* y Saesneg. Holp*yn* neu olp*yn* yw dolen*yn*, sef *dolen fach*.

HORNIO—"Hornio crio."

HUDLACH—"Rhyw hudlach llonydd." Hud-ddynyn, fe ymddengys.

HULACH—"Cychwyn yr hen hulach." Ystyr *hul* yw *cover* a *coverlet*, sef *hulyn*. *Hulach*, felly, yw *hul gwael*. Y gair *hwlach*, yn debygol, oedd y gwreiddiol, yn golygu *llegach, lliprym, heglach*, &c. Ceir *hwlach, hwlen* a *hwlyn*, mewn rhai llyfrau, ond ni cheir mo honynt mewn unrhyw Eiriadur.

HUNFFOST.—"Rhyw hunffost wirion a'i phen yn y gwynt," meddir am fenyw ddidoriad neu haner gwallgof. Nis gwn ddim arall am y gair hwn.

HUPOG.—"Yr hen hupog ddidoriad," meddir am fenyw ysgalbris o honi ei hun ac eraill. *Hup-hynt* yw *dryglam; hup*, gan hyny, yw *drwg*, a *hupoq* yw *drygiog*.

HWNDRO.—Hwn*tt*ro yw llythyreniad y gair i fod, o *hwnt* a *tro*, oblegid *hwntian* yw *to stagger or reel, to joggle or waggle, to wander, stray or struggle*, gan T. Richards.

HWRLI-BWRLI.—Yr ystyr yn werinol yw *tryblith-blith-draphlith*. Cymreigiad yw o *hurly-burly* y Saesneg.

HWTH.—Y mae *hwth, gwth*, a *hwthio, gwthio*, yn gyfystyron. Y gwahaniaeth rhyngddynt yw *hwthio* i fenyw,

a *gwthio* i wryw; megis "Ei *hwthio* hi," "Ei *wthio* fo." *Gŵth* yw y gwreiddiol. Cyll yr *g* ei sain yn yr ail berson gwrywaidd, sef dy *wthio.* Try drachefn i *h* yn yr ail berson benywaidd, sef ei *h*wthio—yn y trydydd bydd yn *g,* sef ei *g*wthio.

HYDA.—"Nid oes yma ond y tlodi—y mae pawb yma ar eu *llawn-hyda.*" Meddwl *hyda* yw amser *hir,* o hŷd, ac *a* yn olddawd i wneyd yr ansoddair *hŷd* yn *enw,* sef yr un peth â *hydedd* neu *amser.*

HYFFIS.—Enw ar fath o bwrs hir-gul a ddefnyddid gan hen wragedd i gadw eu harian ynddo. Cynnwysid ynddo bump neu chwech o logellau, wedi eu gwneyd o wahanol glytiau lliain neu sidan amryliw Dichon mai *ffysg* yw y gwreiddair a *hy* yn flaenddawd. Ystyr *ffysg* yw *brysgar* ac *egniol.* *Hyffysg,* gan hyny, yw trabrysgar, *tra-egniol* i gynnilo.

## I.

IGAM-OGAM—*I* un *cam o gam* arall, neu yn y gwrthwyneb—*o gam i gam—zig-zag.*

IOCYN—Gair *lleol,* ac o *ystyr lleol* yn Lleyn, a arferir pan ar orphen llyfnu cae neu ddarn o gae, megis, "Gwell rhoi *iocyn* drosto eto," neu "Gwell rhoi iocyn arno eto."

IR-DRW'C—Ir *(fresh)* drw'c—trwngc yn ddios, troeth, lleisw, golch (*urine*). Ceir y cyfystyron yn cymmeryd lle eu gilydd, felly yn gyson yn ymddiddanion gwerin am *drwngc,* yn gystal ag yn y geiriaduron. Dyna yr ystyr genfydd llygaid noeth gwerin yn ngweledigaethau y Bardd Cwsg hefyd; a dyna Feibl ar y pwngc—"Eu trwngc eu hun—*their own piss.*" Arferai yr hen bobl

gadw llestri ir-drwngc yn ofalus hyd oni surai, a cheid annedd-dai a phan-dai gwlad yn ei ddefnyddio felly at olchi, am y tybid nad oedd eilfydd iddo fel "Sebon y golchyddion." Cymhwysid gwaddod "Y llestri ir-drw'c" sur, at gleisiau, a chredid nad oedd ei fath at glirio pydrni o gnawd, yn gystal ag at godi pob staen. Heblaw hyny, golygid cosp lem ar droseddwyr direidus o bob oedran gynt, pan ddywedid—"Parotoa dy hun ar gyfer y gwaetha, mae'r wialen fedw yn y golch yn dy ddisgwyl di." Dyna'r trwngc ar arfer a llafar gwerin.

ISGELL—Eir-wlaw—eira gwlyb, fyddo yn toddi wrth ddisgyn; hefyd, cawl, potes.

## L.

LARI—"Hen lari gwirion." *Llar* yw y gwreiddiol, yr hwn yw gwreiddair *llariaidd*, a *llary* yn enw arall ar y gwrthddrych. Ystyr priodol "Hen lari gwirion" yw "Hen *fwynfab diniwed.*" Y mae *llari* a *llary* yn Gymraeg.

LARMON—"Hen *larmon* meddw." Nis gellir cael na Chymraeg na Saesneg o'r gair *llarmon* na *l*armon. Gall mai llygriad ydyw o *llumman;* canys arferir yn fynych y term "Hen *lumman* meddw."

LEINIO.—Gair a ddefnyddir yn fynych am guro plant, megis, "Mi gymmeraf wialen atoch, ac mi'ch *leiniaf.*" Yn ol T. Richards, gair ydyw o'r un ystyr â *to beat.*

LIB-LAB—"A'i dafod yn *lib-lab* o hyd." "*Lib-lab* fel tafod cloch." *Llib-llab* yw y gwreiddiol, ond yr *ll* yn yn troi i *l*. *Llib* ydyw *llibin* a *llipa;* a *llab* ydyw *llithr* a *llithrig*.

LIFING.—Y mae y gair hwn i'w weled yn fynych mewn hen ysgrifau, fel y dengys achau Brynodol yn Lleyn, lle y dywedir—"Efe a werthodd ei *lifing* i Hugh ap Gruffydd ap Sion o Gefnamwlch." Gwneir defnydd o'r cyfryw air ar lafar hyd heddyw, fel hyn :—"Y mae eisiau ei roddi i fyw ar ei lifing ei hun." Gair Saesneg yn ddiau yw *lifing*, wedi troi y *v* yn *f* o li*v*ing, sef *bywoliaeth*.

LOETRAN—"Loetran o gwmpas," sef *oedi*, *sefyllian*, *llercio*, ac *ystelcian*. Llygriad yn ddiau o *loiter* a *loitering* y Saesneg.

LOPSCOWS.—Wrth y gair hwn, yn werinol, y golygir y bwyd a wneir ar dywydd oer, yn gyffredin, sef cig wedi ei ddarnio yn lled fân, drwy'r esgyrn a'r cwbl, a'i ferwi yn gymmysg â thatws wedi eu plicio.

LWC—*Luck* y Saesneg. Lwc neu ffawd yw esboniad rhai pobl ar bob llwyddiant, ac anlwc neu anffawd yw pob aflwyddiant.

LWFIO—"Lwfio yn y rhent," &c., sef rhoddi cyfran o honi yn ol. Llygriad yn ddiau o *allow* y Saesneg, sef *caniatau* a *gostwng* yn y Gymraeg.

LWGWS.—Math o bryf hir, fel pryf genwair budr, yn byw yn nhraeth y môr, yw *lwgws*. Arfera godi clapiau neu dociau bychain o'r traeth ar ddistyll trai. Ceir ar lafar gwlad a gwerin amryw gyfeiriadau ato, megis "Cyn dloted a lwgws,"—"Cyn dloted a lwgi,"—"Fel baw lwgws," &c. *Llwg* yw gwreiddair *go*lwg; ond y mae ystyr arall iddo hefyd, sef *scurvy* y Saesneg—math o glafr crachlyd ffiaidd ydyw. Gall *llwg* fod yn unig, a *llwgi* fod yn lliosog. Olddawd berthynol i dafodiaith y Deheubarth yw yr olddawd *ws*.

# LL.

LLAFAR—" Hen lafar," am fenyw afler. " Hen afar," sef " Hen afr," a feddylir. L wedi ei rhoddi at *a*far yw y *l*afar hwn.

LLAFFRWM.—Gair o fathiad *lleol*, ac o ystyr *lleol*, yn golygu *llacrwydd*, fel na ŵyr neb arall am dano nac am ei ystyr, ond yn unig yn y màn ei harferir.

LLAM-BEDYDDIOL.—Enw o darddiad annichlynaidd—llygriad brodorion môr-lanau Lleyn ac Eifionydd ar enw pysgodyn a hen adwaenid wrth yr enw *llamidydd*, yr hwn ar adegau a welir yn ymdreiglo mewn ymlidiad ar ol penwaig a mân bysgod ereill. Nid oes a fyno bedydd mewn un modd â'r pysgodyn na'i enw.

LLAPRAU — " Yn llaprau mân " am ddilledyn neu rywbeth cyrbibion. Fel y mae ewyth*r* ac ewyth*r*od yn ewy*r*th ac ewy*r*thod, a llw*fr* a llw*fr*dra yn llw*rf* a llw*rf*-dra, &c., yn gyfystyron, felly mae llap*r*au yn gyfystyr â lla*r*piau.

LLAPRWTH—" Y Llaprwth diffrwyth." Lla*b* yw y gwreiddair, a'r ansoddair *rh*wth yn olddawd—yna sain *b* yn troi yn sain *p*. Seinir lla*brh*wth fel pe byddai yn lla*pr*wth. Yr un modd dry*gh*in, e*bh*il, a phe*drh*uso fel pe byddent yn dry*c*in, e*p*il, a pe*t*ruso.

LLAPRYNAU — " Llaprynau o niwl neu gymylau." *B* yw y llythyren wreiddiol, sef lla*b*, ac *rh* yn ei chaledu fel *p*.

LLEBAN—*Climach*, *llabwst*, &c.

LLEDFAN—" Y lledfan di-gychwyn." Yr un ystyr a *lledfegyn*—creadur *dof* neu *lyweth*. Hefyd, *lledfan* yw *ymmod*, sef pren troi llymru ac uwd yn y crochan ar y tân.

LLEFREN—*Llefr, eiddil, egwan, gwachul*, &c., o *llwfr*. Yr un peth yw *llefren* i fenyw, a *llwfryn* i wryw.

LLEMPIO — "Llempio'r cwbl." "Llempio yfed y cyfan." Llygriad o *llepio*, yn debygol; hyny yw, *llyfiad*, *llaib*, *llyfu*, *lleibio*, a *llyncu*.

LLEMPROG—"Rhag c'wilydd iti'r hen lemprog 'fler," meddir wrth ferch fo'n colli dw'r ac yn gwlychu ei hun tra wrth y gorchwyl o olchi. Ymddengys mai llygriad o *lamprey* y Saesneg ydyw, yn golygu yn mlaenaf fath o lysŵen fawr a ffyrnig, ac iddi, yn ol athronddysg y werin, saith o lygaid.

LLIBIN—Llipa, lliprynaidd, gwagsaw, &c.

LLITH.—Y mae ystyron y gair llith yn lliosog—sylwer ar *lure, bait, mass, lesson*, a *lecture*. Yn Eglwysig, golyga bennod neu ddarn o bennod o'r Ysgrythyr i'w darllen yn y Gwasanaeth. Dyger arfer y wlad i chwareu ar y gair, defnyddir ef i ddynodi llith i anifeiliaid, megis "llith i'r lloi," &c. *Dogn* yw pob math o lith, bydded *hylif*, fel *llith* i loi, neu wers, fel llith o *barabl*, yr hyn a welir yn amlwg yn dar*lith*, *lecture*.

LLOWCIO.—Ll*a*wcio yw y gair, er y dywedir ll*o*wcio a ll*y*wcio, sef *traflyncu*.—"Llowcio llaeth a bochio bara."

LLOWTIO.—Dyna ddywedir am *hwch yn gofyn baedd*, ond *llodiog* ddylasai y gair fod. Ymddengys mai llotio y dylai *llowtio* fod—y *d* yn *llod* yn troi yn *t* fel yn cynnu*d* a cynnu*ta*.

LLUGOER.—*Llug* yw y gwreiddair, sef *o'r braidd, mewn rhan*, a *rhanol*. *Oer o'r braidd, oer mewn rhan*, ac *oer rhanol* yw *llugoer*.

LLUGYNURYN.—Wrth y gair hwn y golygir creadur gwael wedi ei nych-fagu. Tebygol mai *llyngyryn* wedi ei lygru yw *llugynuryn*.

LLURGYN—*Burgyn, celain, ysgerbwd*, &c.

LLYFROTHEN—*Afleren*, sef *gudgeon* y Saesneg.

LLYFFANT RHYD-Y-FENOG.—Dyna yr enw arferedig am lyffant du, bychan, mewn rhai manau—mewn manau eraill, adnabyddir ef wrth yr enwau Llyffant *Du Cedenog*, Llyffant *Du Codenog*, a Llyffant *Du Cudenog*, yn nghyda Llyffant *Dafadenog*.

LLYFFONDOR.

LLYGINDIO—*Llurgunio*, yn debygol, wedi ei lygru, sef *anafu*, *cigyddio*, &c.

LLYMAN-GI.—Un *noethlwm*, *taeogaidd* ei olwg. Math o anfri olyga yr olddawd *ci*.

LLYMEITIAN—Diota, sipian, &c.

LLYMRIG — Amrwd, anaddfed, peth mewn cyflwr anmherffaith ac annymunol.

LLYSMANTA—"*Llysmanta* pob man," am *chwilota* pob man. Dichon mai *llamanta*, *llemanta*, a *llymanta*, y dylasai y gair fod, i olygu *yspiena; dewino*, *swyno;* dyweyd tynged cariadon, &c.

## M.

MADL NA MEDL.—Ateb yr arferiad ar lafar gwlad o'r digrifair yw—Bod heb a fyner ag achos o gwbl.

MAEDEN.—Gelwir menyw led afreolus yn hen *faeden*. Llygriad, coeliaf, o *maiden* y Saesneg, gan gyssylltu iddo wrthystyr yr un Seisnig.

MALIO—"Malio dim yn neb." Maelio, ac nid malio, sef *elwa* neu *ennill*, hyny yw, elwa dim yn neb. Hefyd, *gofalu*, *prisio*, sef gofalu neu prisio dim yn neb.

MALWEN.—Arferir lliosogi a threiglo yr enw hwn i wahanol ffurfiau—*malwen*, unig; *malwenod*, lliosog;

*malwod*, lliosog; *malwoden*, unig. At hyn gellir chwanegu *malwena*, megis, "Lle buost di yn *malwena* drwy gydol yr amser?" Y rheswm, yn debygol, o wahanol ddulliau fel yna yw, helaethrwydd geiriau yr iaith.

MAN GENI.—Dywedir nad oes neb heb y nôd hwn. Nid *place* a *space* y Saesneg mo ystyr *màn* yn "*Màn Geni*," ond *spot* y Saesneg yw ei ystyr, sef *brycheuyn* neu *ysmot* ac *ysmotyn*. Y mae ystyr cywir iddo felly, sef *Brycheuyn Geni*, ac *Ysmotyn Geni*. Yr un ystyr yw *Màn Geni* â phe dywedid *Nod Geni*.

MANNU.—Dywedir am ddyn calon-galed nad oes dim yn *mannu* arno, h.y., nid oes dim yn ei gyffroi neu yn effeithio arno.

MEITYN — "Er ys meityn." *Pwynt, ysbaid, gofod, eiliad*, &c., yw *meityn*. Er *ys meityn* yw er *hirysbaid*, er *ystalm*, &c.

MARDDWR.—Enw ar ddwfr y môr pan fo'n llonydd ar ol gorphen llenwi, cyn dechreu treio—marddwr am marwddwr, fel medd-dod am meddwdod.

MENDIN.—Ymddengys mai *mend* y Saesneg wedi ei Gymreigio yn ferf ydyw *mendin*, yn golygu *gwella* neu *ragori*, hyd y nod ar fanylwch gwyliadwrus cyfraith y tir, megis gwraig wrth bwyso ymenyn yn rhoddi ychydig yn chwaneg yn mhob pwys—yn *fendin*.

MENTRO.—Ymddengys mai llygriad o *venture* y Saesneg ydyw *mentro*. Mae'n amlwg fod y ddau air hyn yn gyfystyron, ac er nad yw *mentro* i'w gael yn y Geirlyfrau Cymraeg, eto y mae mwy o *Gymreigrwydd* yn ei sain, nag a geir o *Seisnigrwydd* yn sain y llall.

MIGMAS—"Cadw Migmas." Y mae *mig* a *mic* yn gyfystyr, yr hwn yw gwreiddair cenfigen; sef *hwtio*,

*malais*, &c. Dichon mai mig*maes* yw y gair, sef *hwt*-chwarau, neu *gudd*-chwarau mewn *maes*. *Llesmair* a llewyg yw *mas*. Hefyd *perlewyg*, *gorawen*, *gorlawen*. Chwarau felly yw *migmas*.

MIGNO—" Migno'r egin ŷd," &c., sef mathru, sathru, neu sarnu yr egin ŷd.

MIN-GAMU.—Y mae amryw berthynasau i'r gair hwn, *min-gamu*, megis *munudiau*, *ystumiau*, *ymdumiau*, *mydumiau* : *min*, yma, olyga wefus ;—*camu*, aflunio neu anffurfio.

MODWS.—Byddai clochyddion y dyddiau gynt yn arfer cael ysgubau o ŷd—"ŷd y gloch" fel ei gelwid, yn gydnabyddiaeth am ganu y gloch ar gladdedigaethau, y Suliau, ac ar achlysuron eraill. Ar ol i'r cynhauaf ŷd fyned heibio, rhoddai amaethwr caredig fenthyg ceffyl neu ddau a châr hir i'r clochydd ; ac elai yntau o fferm i fferm yn y plwyf i gasglu yr ŷd, yr hyn a elwid yn " Hel *modws* "—gair deilliedig o *modus* y Saesneg, ystyr yr hwn ydyw *dogndal*.

MOGRAU.—Gair a ddefnyddir am *cyrion* neu *parthau*. Ymddengys mai llygriad o *magwyrau* ydyw, sef magwyr*ydd* yn ol y dull presennol.

MOR GYNLLAETH.—Dynodiad awgrymiadol o deithi lleferydd y gwenieithus. Yn briodol, *cynllaeth* yw y *llaeth cyntaf*. Llyweth, yn debygol, y dylai y gair fod, a cyn yn flaenddawd, sef *cynllyweth*.

MWG-MAGIO—" Mwg-magio'r gwair," " Mwg-magio'r ŷd, &c., am faeddu'r gwair a maeddu'r ŷd. *Gair gwneyd lleol* ydyw, heb fod o werth dim i barthau ereill o'r lle hwnw.

MWRW.—Hen air a ddefnyddir gan bysgodwyr a chan chwarelwyr wrth gyfrif pysg a cherig yw *mwrw*, hyny

yw, cyfrif bob yn dair, fel y byddis yn cyfrif afalau a phobpeth arall ag y mae chwech ugain o hono yn y cant. Gwnaeth Dafydd ab Gwilym ddefnydd o'r gair fel hyn :—

"Daethum lle'r oedd *mwroedd* mawr,
Dri-sais, mewn gwely drewsawr."

Dichon mai *mân* yw ystyr *mwr,* fel yn *mwrllwch* am *niwl,* sef *mânronynau.* Os nad ê, gall mai llygriad o môr yw *mwr,* ac mai llygriad o *llwrw* yw ei olddawd *w,* ac mai môrlwrw oedd y gair dechreu, sef mor-raniad, &c.

MWTRIN A MWTRO.—Geiriau na cheir mewn un Geirlyfr ydyw *mwtrin* a *mwtro.* Mae *trin* a *tro* yn eglur yn y ddau, ond beth am y *mw?* Y mae yn rhaid mai *mŵd* y dylai fod, a bod dwy *t* yn ofynol hefyd ; sef *mwttrin* a *mwttro* — o mw*d*-*t*rin a mw*d*-*t*ro, fel y mae coettir yn dyfod o coe*d*-*t*ir. Wrth *fwtrin* y golygir tatws berwedig wedi eu pwyo âg offeryn pwrpasol a elwir pren mwtro, hyd nes y byddont yn does.

## N.

NASIWN—Llygriad o *nation.* Y mae yr Archddiacon Prys yn gwneyd defnydd o hono yn ei gyfieithiad o'r Salmau ar fesur cerdd, fel hyn :—

"Ni wnaeth Efe yn y dull hwn
I neb rhyw *nasiwn* arall."

NENBREN—Y trawst a gynnalia y to. Byddai y *nenbren* bob amser yn cael ei gyssylltu, pan yfid iechyd da meistr y tŷ, gyda rhyw ymadrodd fel hyn :—"Iechyd da i'r gwr biau'r *nenbren,*" neu "Iechyd da i *nenbren* y tŷ."

NEPIAN — *Nep*, byrlais, *ian*, olddawd cyffredin mewn cyffelyb achosion—clecian, prepian, tisian, &c. Cyfarthiad cyffrous, cwta yr helgi ydyw yn llafar gwlad; a gŵyr y cyfarwydd pan ei clywo fod y gwta bach yn agos, yn yr olwg, efallai, os nad dan ddaint yr ymlidydd y pryd hyny. *Knab—knap* (nap), y llythyren *k* yn toddi ymaith ar dafod y Sais fel y gwyddis; a'r Cymro yn newid sain yr *a* yn *e* fel yn *hat* het, &c., mor rwydd ag yr anadla. Nepian—" *To knap; to make a short, sharp voice; to make an effort to bite.*"

NOGIAD—" Nogiad o fwyd." Llygriad yn ddiau o *noggin*, i'r hwn y mae dau o ystyron, un yw *chwarter peint*, y llall yw *cwpan*. Yr ystyr olaf yna a olygir yn y " Nogiad o fwyd," sef *cwpanaid o fwyd.*

NOL—Gair cyffredin iawn am gyrchu neu ymofyn unrhyw beth.

## O.

OD AC ODI.—Yr 'ydym wedi colli yr hen eiriau yna oddiar ein llafar, ac yn eu lle yn dywedyd *eira* a *bwrw eira.*

OSIO—*Beiddio*, *cymhell*, *cynnyg*, *gwneyd*, &c.

## P.

PADERRUA.—Gair ar lafar hen yn golygu *dywedyd pader*, ond yn bresennol, *pader-ruo* glywir beunydd ar lafar cyffredin, yn cael ei arfer fel sèn-werin-air am un fyddo yn flinder cymmydogion, ar gyfrif ei ymweliadau rhy fynych, yn aros yn hir a hwyr, gan adrodd yr un 'stori drosodd a throsodd, drachefn a thrachefn, hyd ddiflasdod. Barned y darllenydd o ba le y caed y flurfwasanaeth geiriol yma gan y werin.

PALFALU—Cropian neu ymlusgo o gwmpas.

PASTYNFFON—Darnodiad o ddynes fèr, gorfforol a lled ddiles.

PENGRASU — Croes-ymeirio, ymgernial, ymgiprys, ymgynhenu, ymsenu, ymserthu, &c.

PENGUWCH—O *pen* a *cuwch ; cwcwll, penwisg, capan.* Hefyd, *penguwch* ffust.

PENTY—Tŷ i gadw mawn, tanwydd, &c., at wasanaeth teulu.

PERSIO.—Pan bo rhywun yn eistedd braidd yn rhy agos i dân lled fawr, dywedir ei fod yn *persio.*

PERSON.—"Yr enw cyffredin ar weinidog y plwyf ydoedd Bywoliaethwr. Yr oedd yr enw hwn yn cynnwys tri o enwau clerigol ereill, sef Person, Rheithor, a Ficer. Person ydyw yr enw hynaf ar offeiriad sydd yn berchenog gofal Eglwys neu blwyf, a'r hwn y mae ganddo hawl i gyflawni holl swyddau yr Eglwys, a derbyn yr oll o'r taliadau sydd yn perthyn i hyny. Pan sylfaenid eglwys ac y cyfansoddid plwyf yn gyssylltiedig â hi, pennodid person mewn urddau offeiriad i ofalu am y ddau. Efe ydoedd "Person" y plwyf, yr hwn ynddo ei hun fel offeiriad dyledus, cymhwysedig a chyflawn awdurdodedig yn mhob ystyr, ydoedd yn cynnrychioli yr Eglwys a'r bobl rhoddedig o dan ei ofal."

PETASAI.—Y mae *petasai* yn dra arferedig, ond am ei *briodoldeb* yn gyfystyr â *pebuasai* anhawdd dyweyd dim. Petai a phetasai, ebe yr hen, ni fuasai dim yn eisieu.

PEUTHYN.—Gair yn dynodi un chwannog i rywbeth, megis "Yr oedd ganddo ryw *beuthyn* iddo," &c. Ymddengys mai *paeth* yw y gwreiddair, yn golygu *cydrediad, cyduniad,* cyd-darawiad, &c. Gall felly droi i *mheu* fel yn *amheuaeth,* &c.

PIBAST—Enw ar glapiau neu fân dociau ar wyneb tir. Anhawdd gwneyd ystyr o'r gair, heblaw mai *pib* yw *pipe* y Saesneg, a *pîb* yw *rhyddni* neu *looseness* neu *lax* y Saesneg. Tebygol mai y blaenaf, yw yr ystyr yn *pibast.* Yr olddawd *ast* y sydd yn chwithig, er y defnyddir *ast* yn galan*as* gan rai yn galan*ast,* a llan*ast* am llana*str,* &c. Dichon mai yr olaf y sy gywiraf.

PILFFRO — "Mae rhyw bilffro ynddo," sef budr-ladrata. — O'r Saesneg *pilfer,* wedi ceisio Cymreigio tipyn arno.

PILNOS.—Yn nyddiau dedwydd yr hen wladwyr gynt, byddai cywarch a llin yn tyfu bron yn mhob tyddyn ; a byddai lliaws yn ymgynnull ar gylch tan fantell simdde fawr, wrth eirias llewyrchus o dân, ar hirnos gauaf, i'w pilio, am fod y pilion, o'u trin yn iawn, yn meddu cryn gymhwysder i fod yn ddefnydd dillad buddiol, tra pawb yn teimlo fod cael byw ar eu hadnoddau eu hunain, yn enwedig os yn weddol gysurus, yn ddigon—nid oedd cyfoeth yn eilun—na Mamon yn dduw iddynt hwy.

PIWIAID—Enw ar wybed tai mewn rhai manau.

PIWIS—Llygriad yn ddiau o'r gair *peevish,* sef *dreng* y Gymraeg.

PLÂG—Peth yn poeni un yn barhaus heb feddwl dim am afiechyd. — "Plâg arno fo,"—"Plâg ar dy galon di."

PLEIFIO—"Pleifio'r cwbwl." Llygriad ar *plufio* yn golygu lladrata neu ysbeilio.

POETHWAL—*(furze burnt standing)*—Esgeiriau eithin o wahanol fathau, wedi hanner llosgi a chrino wrth eu goddeithio, olygir wrth y gair poethwal — defnydd rhagorol at gynneu tân. Petheuach o'r fath, yn nghyda

arwyddo dau wahanol ystyr—*tymmor* a *bwyd.* Prydiau i olygu adegau, tymmorau, &c., ond prydau bwyd.

PRYDWEDD—Cyfystyr a gwyneb-pryd ; yr olwg ar un.

PYNIRYN—*Pynioryn,* sef pwn bychan o ddefnydd tân.

PYSGOTWR A PYSGODWR.—Y mae Cymraeg y bobl gyffredin weithiau yn fwy manwl a chywrain na Chymraeg ysgolheigion. Pysgotwr y bobl gyffredin yw dyn yn dal pysgod, *pysgodwr* yw dyn yn eu gwerthu.

PYSTODI.—Ymddengys mai o *post* a *pyst* y deillia y ferf *pystodi.* Yr enw i *pystodi* yw *pystawd,* sef gwartheg yn diangc i *gysgodion coed brenau.*

## R.

REIOL—"Gwnaiff y tro yn reiol"—yn ddi-fai—yn eithaf da.

RHAGDDOR—Cynddor, rhagddrws, wynebddor, &c.

RHAMP—*Cylch-rediad, campio* yw *rhedeg allan, cylch-chware.* Gelwir genethig chwareus, yn *rhampen.*

RHIBIN-DI-RES—"*Rhibin-di-res* o ddarllen," &c., sef darllen *afreolaidd,* darllen *didrefn,* &c., heb gael synwyr yn y darlleniad.

RHINGCLIS—Cymreigiad o *wrinkles* y Saesneg, yn golygu *crychau, crychiadau,* &c.

RHODRES, *rhodresgar, rhodresu.*—O rhawd—rhodre(s) rhodiad — dull ymddygiad. Dyna yw rhodres a'i amryw ystyron yn llafar gwerin. Dodwn yma rai enghreifftiau o'r cyfryw. — Rhith-ostyngeiddrwydd, coeg-foesedd, gorfanylwch gyda chaeth reolau manion cymdeithas. A fyddo felly, y dywediad yw mai rhodres fydd arno. Bryd arall, golyga ymyrgarwch diwarant parth materion rhai eraill. *Rhodresu*—drachefn, yn

gyttunol â'r geiryddion, sy'n golygu ymffrostio mewn braint ffunantus, ymogoneddu mewn clod ffugiol—yr ymhoniadau mawrion a'r cyflawniadau bychain — gwâg-fostio. Cyfrifid "Ffrostiwr neu Rodreswr" fel cyfystyron gan y werin, yn ol "Gweledigaethau Cwrs y Byd," yn nyddiau Elis Wynn gynt, fel y gŵyr pob cyfarwydd yn dda ddigon. Ys dywed Bardd Bosworth hefyd :—

"Ond, Risiart! na rodresa,
Elyn hedd, na lawenha;
Fe dỳr y rhwysg—fe dry'r rhod—"

Myn gwerin nad yw rhodres yn ddieithr beth yn myd yr adar ychwaith. Cyfyngir y cyfryw, gan amlaf, mewn rhai manau fel i nodi argoel ragarwyddol dra chywir o agosrwydd adeg yr ieir i ddechreu dodwy, yr hyn, yn mhlith gwragedd gwledig gwahanol oesoedd, a ddeallid oddiwrth rugl-seiniad yr ieir, ac a elwid—*rhodresu.* Dywedir na phaid cywenod â'u rhodres yn hir wedi dodwy, yn ogystal. A chware teg i'r ieir,—mae aml i ddeu-droedyn di-aden yn gwneyd llawer mwy o dwrw, heb wneuthur yn agos gymmaint o wasanaeth ag yw bwrw wyau at angenrheidiau byd, er yr holl swn a'r *rhodresu* o'r eiddynt.

RHÔL.—Rheol foesol a olygir wrth y gair hwn. Pobl *ddirôl* yw pobl afreolus. Gwnewch *rôl* (rheolaeth) ar y plant. Bachgen drwg ei *rôl* yw bachgen drwg ei reolaeth.

RWDLIO — "Rwdlio baw," "rwdlio siarad," &c. *Rhodli* a *rhodlio* yw y gair, o *rhodl*, sef *rhwyf.*

RHWBEL.—Dichon mai llygriad yw y gair hwn o *rubble* y Saesneg, sef *mân-gerig* neu *gerygos.* Er hyny, y mae acan Gymreig iddo; a gall mai o'r *rhwb* Cymraeg

y daeth *rub* y Saesneg, felly gellir rhoddi *el* yn olddawd Gymreig fel yn Gwydd*el*, &c. Mae yn hen air, oblegid ceir ef ar arfer, o leiaf, o 1370 i 1410, gan Llywelyn Moel y Pantri, fel hyn :

"Eithr od wyd athraw didwyll
Gwelych na *rybelych* beth."

RHYWYR.—Er y dywedir mai rhy-*h*wyr yw y gair, eto ni cheir na rhy-*h*wyr na rhy*w*yr yn y Geirlyfrau. Wrth *rhywyr* y meddylir *rhy ddiweddar.* "Mae'n *rhywyr* yn min rhewi," ebai Dewi Wyn. Mewn gair arall, mae'n *hen bryd.*

RWAN—"Rwan ac yn y mân." Tybia rhai mai "yn awr" yn ei wrthol yw *rwan*, ac ei fod yn well nag "yn awr" neu "yr awrhon." Tybia eraill i'r gwrthwyneb. Beth bynag am wahanol syniadau llenorion yn nghylch *rwan*, y mae a wnelo "arferiad gwlad" â ffurfia geiriau hefyd ; er hyny, nid cwbl berffaith un campwri dynol.

## S.

SACH-GWD—Rhwng *sach* a *chwd.*

SAGWIGIO.—"Myn'd i'r wig" ddywedir am ruthro i'r gwddf, a *sagwigio* am *dagu, llindagu,* &c. Felly, yn agos yr un ystyr ag *ysgegio,* ac hefyd, efallai o'r un cyff ymadrodd gynt, oddigerth iddynt rywsut gael eu trosi at wasanaeth arferol, yr hyn, yn fynych, achosa beth gwahaniaeth rhwng geiriau a ystyrir yn gyfystyr.

SELDDOETH.—Gair heb ei gydnabod yn unrhyw Eirlyfr, hyd y gwelais, yw *selddoeth.* Ei ystyr wledig ymarferol ydyw sel-ddoethineb hunan-dybus—gosod y gyfraith i lawr—cywiro pob peth ddywedo bawb, a gwneyd ei air ei hun yn derfyn ar bob achos, fel pe yn ysgrifrwym seliedig.

SÂL—Salw. Gadewir yr *w* allan. "Y mae i'r gair sâl ystyr ddeublyg; sâl—*sick;* sâl—*inferior;* er enghraifft, dyn sâl; dillad sâl."

SELDREM.—Un ystyr i *seldrem* yw *range* y Saesneg, yn golygu *trefn, rhestr,* a *dosbarth.* Yma, y lliosog—seldremi, a olyga ŷd wedi ei gynnull o'i wanafau, gan rwymo dwy neu dair seldrem o hono yn un ysgub—nid ysgub at ysgubo, ond "ysgub ŷd" yr hen amser—deuddeng ysgub mewn ystwc.

SERIO — Craithlosgi, llosgi â haiarn poeth. "Ei gydwybod wedi ei serio."

SEITHUG — "Siwrnai Seithug." Siwrnai aflwyddiannus, siomedig; fel *saethu saeth* ar amcan, ac heb gyrhaedd y nôd. Ystyr *seithug* yw *diles, gwag, ofer,* &c.

SIAGOD—"Mae ei esgidiau yn *siagod* am ei draed." Ymddengys mai llygriad o *shag* ydyw'r gair hwn, fel yn y geiriau *tobacco shag* a arferir yn ein gwlad, sef *tobacco* gwedi ei *falu* neu ei *friwsioni.*

SIAWNS—Llygriad amlwg o *chance* am *ffawd* neu *hap.*

SICIO—"Sicio golchi," sef *mwydo* neu *soegi.*

SIFFLO—Cymreigiad o *shuffle.*

SION SEGUR — Teclyn sefydledig mewn pren neu haiarn tri-throed i ddal canwyll o wêr, neu efallai o frwynen.

SIOT—Bwyd maethlawn o fara ceirch wedi ei falu yn fân gyda rholbren ar fwrdd neu ei falurio rhwng y ddwylaw, a'i ddodi mewn llaeth enwyn. Sonir yn fynych am siot bwyd, siot diod, siot priodi, siot claddu, &c.

SIWMP—Math o siaced, hugan, neu goban.

SIWTRWS—*Manion, chwilfriwion, swtrws,* &c. Ystyr cyfystyr yw *siwtrws* a *swtrws.*

SLANU—" Slanu pob peth o'i flaen." Slan*io* ddywedir mewn rhai manau, yr hyn a eglura mai llygriad o'r *slain* Seisnig yw slan*io* a slan*u*. Hyny yw, dyn yn gweithio â'i holl egni yn ddibris a diymarbed o hono ef ei hun.

SMERA—" Beth wyt ti'n *smera* yn y fan yna o hyd ? " Llygriad, fe ymddengys, ydyw *smera* o *ysmwyro*, a llygriad yw *ysmwyro* drachefn o *ystwyro* ac *ystwyrain*, sef *osgo ddioglyd.*

SOCIAN — Llygriad o *soak* —" Socian berwi," sef mwyd-ferwi.

SPINIO—O *spin* y Saesneg, yn debygol, er y gwna *ysbinio* air Cymraeg o *ys-pin-io*.

STRIM-STRAM-STRELLACH.—Nis gallaf olrhain hwn, eto ymddengys ei fod yn golygu rhywbeth a daenid ar wasgar heb drefn arno—yn gwbl ofer.

STWMP — Gair arferedig am nôd a ddefnyddir ar glustiau defaid. *Stump* y Saesneg yw y stwmp hwn, sef *bonyn, cyff, boncyff.* Boncyffio y glust ar y defaid y bydd y bugeiliaid. Er hyny, mae *ystwmp* yn enw Cymraeg ar bytatws, &c., wedi eu gwneyd yn does.

STWNT.—Byddai gan yr hen bobl fath o lestr i gadw ymenyn a elwid *stwnt*. Ymddengys mai llygriad ydyw o *stand.* Y *stwnt* hwn yn Gymraeg yw *ystwc*. Medd hen brydydd :—

" Y wraig o'r tŷ nesa' a'm triniodd yn frwnt,
Hi gurodd fy nannedd yn nghauad y stwnt."

SURBWCH.—Gelwir dyn o edrychiad sarug yn " hen surbwch "—o *sur* a *bwch*, sef *bwch sur*.

SWAB—Gair a arferir gan fechgyn, yn fwyaf cyffredin, am gyfnewid cyllyll ar antur, naill ai o'r dwylo neu ynte dan gapiau. Ymddengys mai *squab* y Saesneg wedi ei lygru yw y gair *swab* yma.

SYBER-GRWYDRWR.—Dyna fel y gelwid ac yr adnabyddid gwr ffraeth-eiriog, arferol a chrwydro, megis wrth ei swydd, ar hynt ei negeseuon bydol, pryd nad oedd ond ychydig o newyddion yn tramwy y wlad. Cyn teyrnasiad y papyr dyddiol efe oedd croniclwr unrhyw ddigwyddiad o bwys ar fôr neu dir, ac nid mwy anhebgorol ar achlysuron neillduol bresennoldeb neb na'i ymddangosiad ef. Cyfrifai yr amaethyddion yn weithred o ddyledswydd ei dderbyn yn lletteugar i faingc y simdde i dreulio noswaith dan gronglwyd y naill a'r llall o honynt. Ei dâl fyddai bwyd a thipyn o hen ddilladach, yn nghyda lletty ar aelwyd gynhes, pryd yr oedd pobl yn credu mewn eistedd *uwchlaw* y tân ac nid o'i *gylch*.

SYMOL.—Pan y gofynir "Sut yr ydych chwi heddyw?" "Symol, diolch i chwi," fydd yr atebiad. Ymddengys mai o *syml* y deillia *symol*, yn golygu *gweddol.* Ond *rhesymol* ddywedid bob amser ar lafar hen—felly eto mewn rhai manau, megis hen adgof ar dafod y werin.

## T.

TAFOD GWLAD—Arfer-eiriau gwerin. Càn ystwythed yw tafod gwlad fel y cymmer arno bob rhyw ffurf i ymeirio; ac er cyffelyped i'w gilydd y b'ont, ceir i bob un ei ystyr ei hun, a byth ni chamgymmerir y naill am y llall gan y werin, fel y gwelir:—(1) *Tafodog.* Un fyddo'n rhwydd ei barabl—hawdd ganddo siarad, a siarad yn hawdd iddo—pert ei atebion, a pharod ei air ar faterion yn mhob cylch y byddo. (2) *Hir ei dafod.* Golyga hwn "yr areithiwr hyawdl"—meistr ei bwngc yn gystal a meistr y gynnulleidfa. (3) *Tafod-lyfn.* Esmwyth-eiriau yn diferu fel olew, o dan wên deg, i

leddfu pob rhyw dybiaeth, parth diffuantrwydd, er ennill ffafr i'r ymadroddion, er yn ffalsedd i gyd. (4) *Tafodi.* Gollwng tafod, gan achwyn am gam gwir neu dybiedig, mewn tymher gyffrous, geryddol, a checrus—"Dwrdio yn arw." (5) *Tafod drwg.* Cas-eiriau ffrom, taeogaidd, dialgar, bydded lw neu reg, edliwiad neu gamliwiad, &c., pob ffurf wasanaeth i foddio nwyd aflywodraethus, ac i niweidio y gwrthddrych. (6) *Tafodgi.* Dyna y gair ddefnyddir am y rhywogaeth isaf o'r tad drwg, a hyny, fynychaf, gan ei dras ei hun. Cyfrifir ei fod yn ddarnodiad lled gywir hefyd, ar gyfrif yr anianawd, y chwyrnu, a'r brathiadau. (7) *Tafod drwg.* Iaith anweddus, halogedig, anllad a thrythyll. Nid rhyfedd clywed "Cymru lân" yn ebychu pan ddigwyddo y fath fryntni iselfoes, gan ddywedyd—"Mi 'roedd o'n siarad tafod drwg yn gywilydd ei glywed—wfft byth!"

TARO BARGEN.—Ymddengys fod yr arferiad o *daro bargen* ar ben ffair yn dyfod i lawr o amser boreu iawn, ac mai math o adsain ydyw o'r arferiad o daro'r anifail a gollwng ei waed, pan y gwneid cyfamodau.

TAWLU.—Y mae'r ffurf yma yn lle *taflu* bron ar goll oddigerth mewn rhai manau.

TENDAR.—Hen air trangcedig yw *tendar*, sef cerpyn o liain wedi ei olosgi, a ddefnyddid at ddechreu tân ac a gedwid yn gauedig gyda'r ddolen ddur a'r gareg fflinten—yr oll efo'u gilydd yn daclus, er hwylusdod, yn y "box tendar." Gair deilliedig o'r Saxon trwy'r Saesneg *tinder* yw *tendar* y Gymraeg, medd y rhai sydd yn proffesu gwybod. Ond yr hynafgwyr ag ydynt er's hir amser yn cyd-falurio a daear tir eu tadau, a ystyrient mai *taro tân* neu *tân-daro* oedd yr ystyr. Pynag am hyny, mae yr esponiadau geir ar ystyr geiriau yn

fynych, yn debyg iawn i esponiadau rhai ar yr Ysgrythyrau, a dweyd y lleiaf, yn annaturiol a rhyfedd.

TERIG—"Mae dy wyneb yn derig o faw." *Tŵr, clwstwr,* &c., yw *terig*. *Tŵr* o faw, *trwch* o faw, a *clwstwr* o faw yw *terig*.

TESNI, yn wreiddiol, yw *gwresni* a *poethni*, ond arferir ef yn awr am *rheibni*, sef darllen *ffawd* neu *ffodni*.

TILA—Yr ystyr a roddir i'r gair hwn ydyw *eiddil, egwan, gwachul,* a *nychlyd*.

TILTIO.—Pan byddo rhywun yn cymmeryd ar y mwyaf o amser i ymdrwsio, dywedir "Dos oddiyna i *diltio* dy hun." Ymddengys mai o *tilt* y Saesneg y deillia y *tiltio* hwn, er nad oes unrhyw synwyr ynddo at *ymdrwsio* yn ormodol mewn balchder. Ystyr *tilt* yw *lluestlen, cysgodlen, gwrthgamp,* &c.

TIMPRWN—Neu yn hytrach ti*n*prwn. Arferir dyweyd fod "timprwn garw," sef fod cryn orchwyl i liniaru tipyn ar ysbryd rhywun blin ac anhywaeth wrth natur. Anhawdd dirnad beth yw tarddiadau y fath eiriau â *timprwn* a *tinprwn*. Y mae *timbren* neu *tinbren* yn eiriau, yn golygu y pren o'r naill dres i'r llall, o'r tu ol i geffyl tra yn y tresi.

TINCER.—Y mae gwaith y *tincer* yn aros o hyd, er fod ei barchusrwydd, os bu y fath beth yn perthyn iddo, wedi diflanu, ond y mae yr arferiad a achosodd yr enw wedi myned allan o ddefnyddiad er's amser maith. *Tincer,* medd rhai, oedd un ag fyddai yn tincian, oblegid yn y dyddiau gynt elai y tinceriaid o gwmpas gan roddi arwydd o'u hagoshad drwy swn tinciad ar hen degell pres. Rhoddwyd yr enwau *tincerdd* a *tinker* ar y rhai a elent ar hyd y wlad i wella hen badelli pres a thiniau. Tebygol mai llygriad yw *tincerdd* o'r *tinker* Seisnig,

am mai yr hen air parchus *eurych* yw y gair priodol am y gair diystyrllyd *tinker;* a'r gair cyfatebol iddo yn y Saesneg ydyw *goldsmith.*

TIN-DROI—" Lle buost di yn tin-droi o hyd?" neu, " trwy gydol yr amser."

TINLLACH—Gair a arferir, yn fwyaf neillduol, gyda bechgyn, megis "yr hen dinllach bach," &c. Ystyr *llach* yma yw *baeddu,* fel yn *llachio.* Ystyr *tin* yw *gwael,* fel yn y gair *tinion.* *Tinion ŷd* yw *ŷd gwael, sâl,* a *salw.*

TIPAD—Llygriad am *tippet* y Saesneg, sef *gwardorch* ac *ysgwydd-dorch* yn y Gymraeg.

TITW—Cath mewn iaith orhoffus.

TOPSTAN.—Pa sawl pwys oedd "*topstan*" o wlân? Nid wyf yn cofio, os nad unarddeg. Yr oedd yr hen bobl yn arferol o gadw cerig yn eu tai, ac â hwynt y byddent yn pwyso yr hyn a brynent ac a werthent. Coeliaf mai ystyr *topstan* yw *top stone,* sef un o'r cerig a arferid gan yr hen bobl yn y dull a nodais.

TRAETH-AWYR — Taen gymmylau llwyd-wyn, un ffunud mewn ffurf ac ymddangosiad ag ol y tonau ar dywod-draeth wedi i'r môr fod yn ymdoni arno dan awel o wynt, yr hyn a ystyrid yn flaen-arwydd sicr, gan werin syml y dyddiau fu, fod ystorm gerllaw.

TORDRES—O *tor* a *três,* sef tid neu gadwyn a ddodir dan fol y ceffyl gwedd tra byddo mewn gwasanaeth rhwng llorpiau y drol, &c.

TRAFFWCH — "Rhyw draffwch afler." *Traff* yw *chwal, taen, gwasgar,* &c. Wch yn olddawd enwol, sef *chwaliad, taeniad, gwasgariad.* *Traff* yw gwreiddair *trafferth, erth* yn golygu *poen, gofid.*

TREGYN.—Math o bryfed arferol o lynu wrth byrsau gwartheg yw *tregyn,* neu *trogod,* fel eu gelwir weithiau. Ymddengys mai tre*c*, tre*c*yn, a tre*c*od, ddylid ysgrifenu. Ystyr blaenaf *trec* yw *implement* y Saesneg ; *trecyn, a small implement,* a *trecod, implements.* Felly y mân bryfedach hyn ydynt offerynau, neu beirianau, neu gelfi, poenus i byrsau a thethau gwartheg.

TREIO — Cymreigiad o'r Saesneg *try,* sef *amcanu, cynnyg, ymdrechu,* &c. Hefyd, golyga beri trai ar rym dyfroedd y môr.

TRENSIWR—*Trencher* y Saesneg, sef plâd pren neu ddysgl bren i fod ar fwrdd mawr i ddal yn ei dro bytatws—powl bren, neu gawg gylchog yn llawn o "frowes bara ceirch," ac wrth gwrs llwy bren i wneyd y llestr yn wâg a'r bol yn llawn.

TRESAL—Llygriad o *dresser* y Saesneg. *Dresar* ddywedir mewn rhai manau.

TRESIO—"Tresio bwrw." Três yw *cadwen, cadwyn, tid,* &c., ond três yw *llafur, trafferth, dyrnod, ergyd, tonc, mawrdrwst,* &c. *Tresio,* gan hyny, yw *ergydio, mawrdrystio*—fflangellu ar y croen, neu *cwrbits* mewn rhai manau.

TROPOS — Llygriad lliosog o *drops* y Saesneg, fe ymddengys, am y dyferion fo'n disgyn o simddeiau ar adegau neillduol yw y gair *tropos,* yr hwn na cheir mewn unrhyw Eirlyfr Cymraeg na Saesneg, ond yn unig mewn ambell ardal.

TRYBINI.—Gair arferol iawn yw am *drybestod, aflerwch, chwalogrwydd, tryblithedd,* &c.

TRYCHWELA. — Pan bo rhywun yn chwilio am rywbeth mewn lle tywyll, "dan ei ddwylo," megis, gofynir "Beth wyt ti'n *trychwela* yn y fan yna?"

*Trych-gwêl-a* yw gwreiddiau *trychwela*. *Trych* yw *anamlwg* a *cudd*, fel yn *trychfilyn*. *Gwêl* yw gwreiddair *gweled*, megis, Efe a *wêl*, sef mae efe yn *gweled*. Yr olddawd *a* yw y ferf, fel yn bwyt*a*, chwilot*a*, pysgot*a*, &c. Ystyr *trychwela* felly yw chwilio am beth neu bethau cuddiedig o'r golwg.

TRYFORIO—Gair arferedig am drin tir gwyllt. Ystyr priodol *tryforio* yn Gymraeg yw *gorforio*, o *try* a *morio*. Ond ymddengys mai blaenddawd Cymraeg a gwreiddair Saesneg wedi ei Gymreigio yw y *tryforio* hwn—*bore* am dyllu, ceibio, wedi ei droi yn *borio*, fel *leicio* am *like* y Saesneg.

TRYLAU—"Trylau o foch braf"; "Trylau o blant braf," &c. *Trylau* yw esmwyth-feingciau, sef *couches*, yn ol T. Richards, yr un peth â *glythau* yn Actau v. 15.

TUDFACH—"Y tudfach diafael"; hefyd ystudfach, yr un mewn ystyr â *stilt* y Saesneg.

TURSIAU—"Paid estyn dy dursiau"—cyfystyr â phe dywedid paid llaesu dy weflau.

TWMPIAN—Olrheinir y gair gan y dysgedigion hyd y Ffrangcaeg *tomber*, o'r hwn y tarddodd trwy y geiriau Saesneg *tumble* a *stumble*. "Rhoddir yr enw *tumbler* i lestr hanner peint a ddefnyddir genym i yfed o hono; ond y mae'n perthyn i'r enw ei hanes nad yw yn amlwg yn y llestr presennol. Ni allai y llestr a dderbyniodd yr enw yn wreiddiol ddim sefyll ar ei waelod, am fod y gwaelod hwnw yn grwn, a dyna p'am y gelwid *tumbler* arno. Gwnelid y llestr yn grwn, fel y byddai i bob un yfed ei gynnwys i'r gwaelod. Ni ystyrid fod dyn yn rhoddi y parch dyladwy i'w lettywr heb yfed ei iechyd da hyd waelod y llestr. Yr oedd hyny yn fath o ddefod angenrheidiol o barch."

TW-TW, WAS—Fel yna y gelwir sylw ci at gareg, yr hon y bwriedir ei thaflu, er mwyn gweled y ci yn rhedeg ar ei hol. *Tw* yw codi i fyny, chwafio, chwyfio, &c.

TYNEWYN—Y rhan hono o ochr anifail ag sy'n cyrhaedd oddiwrth yr asenau hyd y glun.

## W.

WAMPIO.—Y gair iawn am y ferf *wampio* ydyw *wabio;* hyny yw, *dyrnodio* neu *ergydio,* er yr arferir *wabio* a *wampio* yr un peth. Y mae y geiriau *wab* a *wabio* yn Gymraeg glân, tra nad yw *wamp* a *wampio* felly.

WMRO.—Am ddyn anniddig, afrywiog, a sarug wrth natur, dywedir fod gwaith *wmro* mawr arno yn fynych. Ymddengys mai llygriad o *humour* yw *wmro,* yn golygu *llareiddio, tyneru,* &c. Ni cheir mo hono yn y Geirlyfrau, mwy nag y ceir *wmbredd* ac *wmbreth* ynddynt, eto mae iddynt seiniau Cymreig mewn arferiad, yn golygu yr ystyr a roddir iddynt.

WTRE neu WTRA—Ffordd plwyf, neu dref-ddegwm ; hwylfa, neu lôn.

## Y.

YMBINGCIO, sef ymaddurno—Gair a arferir am ferched ieuaingc fo'n ymdrafferthu i ymwisgo mewn gorwychder, er mwyn tynu sylw. Pan y bo adar yn llyfnhau eu plu ar ol gwlaw neu wynt, dywedwn eu bod yn ymbingcio, sef yn trwsiadu eu hunain â'u pigau. O'r Saesneg *pink,* yn debygol, y ffurfiwyd y gair *ymbingcio.*

YMBRICIAL.—Nis gwn ystyr y gair rhyfedd hwn. Rhaid mai gair o waith cartref lleol yw, ac nad oes un parth arall yn ei ddeall ond y parth y bathwyd ef ar y cyntaf.

YMDDERU.—*Der* yw *cyndyn, cildyn, gwrthnysig* ac *ystyfnig*. Cyndyn ddadlu olygir wrth *ymdderu.*

YMDDIGWD.—Tebygol mai llygriad o *ymddygiad* yw *ymddigwd.* Gwna *ymddigawd* air da am annghydfod, ac *ymddigodau* am annghydfodion, o'r hwn y deillia *ymddigio.*

YMENYN GWYRDD—Ymenyn heb halen ynddo. Y *gwyrdd* hwn yw *gwyrf,* sef pur, croew, &c.

YMGERNIAL—*Cheek by jole,* penben, pen yn mhen, ochr yn ochr, &c.

YMGROESI.—Defnyddir y gair *croes* mewn amryw ffurfiau, ac i wahanol ddibenion, canys ceir geiriau yn awr ac yn y man yn cymmeryd felly ystyr cwbl groes i'w gilydd. *Croesaw,* ebe'r tad wrth yr afradlon, yn henffych well, gan ddymuno yn dda yn enw y Groes. *Curse him,* ebe'r Sais, gan ddymuno melldith Duw yn enw y Groes. Perthyna i groes *arddangosiad, dyrchafiad,* a *chyhoeddusrwydd. Croes* a ddefnyddid gynt, ac a ddefnyddir yn yr oes hon, fel arwyddnod enw drwy holl wledydd cred ; ac y mae yn dra thebyg fod yr arwydd hwn wedi cael ei ddewis yn hytrach na llinell uniawn, cylch, neu bwynt, o herwydd y parch coel-grefyddol a deimlid gan yr Eglwys Babaidd i Groes ein Hiachawdwr.

YMGURO—Dyna ddywedir am luchio'r ddwy fraich ar draws y fynwes yn erbyn yr ochr gyferbyniol ar amser oer. Felly, ystyr *ymguro* yw *curo ei hun.* Tân a chynhesrwydd y dyn tlawd ydyw *ymguro.* Y mae wrth hyny yn twymo ei holl gorph. Hefyd, golyga *ymguro, egnïo, ymdrechu,* &c., fel y prawf yr hen ddywediad "Ymguro am ei damaid."

YMREMIAL.—Er na cheir *ymremial* na *rhemial* mewn Geirlyfr, eto ceir *rhemiad,* sef *muttering* a *murmur* y Saesneg, yn golygu *baldordd* a *godwrf* y Gymraeg. Felly cyfystyr yw *rhemial* a *rhemiad,* ac *ym* yn flaenddawd ysgafn *r* i *rh.*

YMWYRIO—Arferir y gair am *enweirio.* Y mae yn air an-Nghymreigaidd. Gwna ymweirio y tro.

YSBRED—"Yr hen ysbrêd." *Prêd* yw *crwydr,* yna *ys* yn flaenddawd grymusol i *pred* yn ys*b*red neu ys*p*red, fel yn ys*p*ytty.

YSBRUDDACH—Dyna fel y gelwir dyn *hanner effro, diyni,* a *diles,* o *prudd,* yn golygu *swrth.* *Ys-prudd-ach* ydyw rhaniadau gwreiddiol y gair.

YSGAFLOG.—Arferir y gair yn y rhyw fenywaidd, megis "Yr hen ysgaflog fawr," &c. Gafl yw *ffwrch* a *fforch*—y naill yn wrywaidd a'r llall yn fenywaidd. Gaflo*g,* gan hyny, yw fforcho*g*—*ysgaflog* yw *llydanog*—*tra gaflog* neu *fforchog.*

YSGAFFELL—"Ysbïo dan ei 'sgaffell,"—dan ei ael.

YSGALBRIS—Dyn ysgalbris — diymarbed o hono ei hun.

YSGALDIO—Llygriad o *scald.* Y geiriau Cymraeg am dano ydynt *gwlyblosg, gwlyblosgi,* &c.

YSGAPRWTH — "Y 'sgaprwth diffrwyth"—y llac ei afael.

YSGAWT—"Myn'd ar 'sgawt," megis yn ddamweiniol. Nis gwn beth yw *ysgawt,* os nad yw yn llygriad o *scout,* sef *ysbïo, olrhain, chwilena* oddi amgylch.

YSGIRMILL—"Ysgirmill tenau." Anhawdd gwneyd dim o'r gair hwn, os nad llygriad yw o *skirmish.*

YSGIWIAD—Gair arferedig am nôd ar ddefaid. *Yscip* ac *ysgipiad* a fyddai cystal gair ag *ysgiw* ac *ysgiwiad.*

YSGLISEN—Llygriad o *slice*, sef tafell—tafell o fara.

YSGOT BRYWES—Bwyd o fara amyd a dwr a halen. Ymddengys mai *Scot* yw y gair, sef *Albanwr.* Dywedir *Ysgot*iaid am *Albanwyr*, y rhai a fwytânt flawd *ceirch* a *dwr* yn eu cwpanau.

YSGOWLIO.—O'r Saesneg *scowl* y deillia yr *ysgowlio* hwn, sef *cuwch*, *cuch*, *gwg*, enwau; *cuwchio cuchio*, a *gygu*, berfau.

YSGRAFINLLYN — "Yr hen ysgrafinllyn croenllwm." Ysgrafinio yw y ferf am dori neu *grafu y croen.* Yr ansoddair yw *ysgrafinllyd.*

YSGRAWT—Ysgraw*d*, yn debygol—o crawd, sef *coating* a *surface* y Saesneg. Arferir y gair am rhywun lled afluniaidd ac afrosgo. Hefyd, dywedir "Ysgrawtio tros y cloddiau," &c.

YSGREGEN — "Ysgregen o fuwch denau," &c. "Wedi myn'd yn ysgregan i gyd drwyddi," am drol, berfa, neu rywbeth o'r fath ag fyddo bron wedi darfod. Benywaidd yw *creg*, a *cryg* yn wrywaidd. *Cregen* o fuwch, a *crygyn* o darw neu fustach. *Ysgregen* ac *ysgrygyn* yw tra *chrebachlyd,* o ganlyniad yn rhwym o fod yn *denau.* Ysgreg*an* am *bethau* fel *trol*, *berfa*, &c., yn golygu *bregus.*

YSGRWB—"Yr hen 'sgrwb meddw." Ffurf fenthyg oddiwrth *scrub* y Saesneg yn ddiau, yn golygu *bawyn*, *delffyn*, *gwaelddyn.*

YSGRWFF — Gair arferedig am ysbwrial o wellt, mieri, &c. Llygriad yn ddiau o *scruf.*

YSGRWMP.—Mae y gair hwn yn nghadw, yn neillduol, yn yr ymadroddion "Hen 'sgrwmp," "dyfod i lawr yn 'sgrwmp," "ysgrwmp o wlaw taranau;" ond fynychaf

yn y term "'Sgrympiau Gwyl Grôg," er golygu disgyniad sydyn cawodydd trystfawr o genllusg.

YSGRYTHU—"Ysgrythu bron a rhynu." *Crwth* yw y gwreiddair, sef unrhyw beth a ymchwydda allan, am yr hyn y gelwir *fiddle* yn *grwth* Felly *ysgrythu* yw *ymchwyddo allan, ymestyn*, &c. Gair arall o'r un ystyr yw *ystwyrain.*

YSGUT.—*Cyflym* neu *swta* olygir wrth *ysgut.* Tebygol mai llygriad ydyw o *esgud*, sef *cyflym, heinyf*, &c.

YSGUTOR—Gair arferedig am brif feddiannydd cymmunrodd ar ol un fyddo gwedi marw. Er na cheir *ysgutor* yn y Geirlyfrau Cymraeg, ymddengys mai llygriad yw *executor* y Saesneg o hono, oblegid y mae gan y Gymraeg ei *cud, cut, cudyll, cutyll, ysgudyll* ac *ysgutyll.* Yna mae yn canlyn y rhaid mai Cymraeg ydyw *ysgutor*, am fod y Gymraeg yn henach nâ'r Saesneg. Nid yw *executor* y Saesneg yn cyfleu yr hyn a olygir wrth *ysgutor* y Gymraeg.

YSGWRIO.—*Ysgwr* yw *grym, nerth*, ac *egni.* Hefyd, *gwthiad, cynhyrfiad, cymhelliad*, &c., o *cŵr*, ac *ys* yn flaenddawd grymusol. Ysgwrio brethyn a hosanau hefyd, sef *glanhau* y brethyn a'r hosanau, bob *cŵr* o honynt oddiwrth y saim a'r baw a fyddo ynddynt, sef eu *pannu* neu eu *cànu.*

YSGWRS.— Cymreigiad llygredig ydyw *ysgwrs* ac *ysgwrsio* o *discourse*, sef *ymddiddan*, &c.

YSGYFFLIO—"Ysgyfflio'r tatws." O *scuffle*, sef dull arall o ysgrifenu *shuffle* o *shove*, yn golygu *gwthio, ysgwyd, symud*, neu yn fwyaf priodol yma *rhyddhau*, fel y gwna gorchwyliaeth y *scuffler* â'r rhesi tatws wrth ei lusgo rhyngddynt.

YSGYLFFIO — "Dos oddiyna i 'sgylffio pob peth." Cyfystyr â *chipio, ysgubo,* cymmeryd trwy drais, megis.

YSGYRBADO—"Yr hen ysgyrbado drewllyd." Nis gallaf ddyfalu beth all ystyr y gair hwn fod, os nad ydyw wedi ei fastarddio o'r gair *scrub,* sef *gelach, gwaelddyn, llipryn,* &c.

YSGYREN—"Yr hen ysgyren deneu." Y mae *ysgyren* yn *deneu,* a'r *teneuwch* yw y priodolder o'i galw yn *ysgyren*—y naill a'r llall yn fenywaidd.

YSGYRNWYN-GI.—Yn werinol golyga y gair rhyfedd hwn ddyn cenfigenllyd, dygasog, a gwenwynllyd. Gelwir dyn felly hefyd yn *ysgyrn-gi* ac *ysgyrnygi.* Deillia y gair o *ys-gyrn-gwŷn-ci,* neu *ys-corn-wyn-gi.* Y mae *yscorn* yn Gymraeg am *scorn* y Saesneg. Pwy ŵyr nad gyda gweithred lythyrenol rhyw hen Frython ysgeler y dechreuwyd defnyddio y gair "gwenwyno" am cenfigenu ac eiddigeddu?

YSLEBOG—Felly y gelwir menyw anwiw ac annhrefnus.

YSLED—Càr llusg, sef math o ffram-waith coed diolwyn.

YSLEIFIO.—*Yslaif* yw yr enw, ac *ysleifio* yw y ferf, o'r gwreiddair *llaif,* sef *trywanu, saethu, chwifio, cneifio,* &c.

YSLEMP.—Er fod y gair *yslemp* ac *yslomp* ar arfer, ni cheir y naill na'r llall yn y Geirlyfrau. Dylai Geirlyfrwyr ddodi llawer gair gwerin i fewn, am fod iddynt eu hystyron priodol. *Yslempio* yw *budr-olchi* ac *yslompio* yw *haenlychwino.*

YSLOT—"Slot o ddwr llugoer." Nid oes dim o olygiad y werin am *yslot* yn *slot* y Saesneg. Y mae

ystyr gwreiddiol Gymreig yn *slot* y werin, a byddai yn fwy Cymreig yn y ffurfiau o *yslod* ac *yslot.*

YSLOTIAN—Dyna ddywedir am blant fyddo'n ymddifyru wrth chwareu a gwlychu eu dillad mewn dwfr, ac hefyd am ferched fyddo'n "'slotian golchi," a'r un modd am feibion fyddo'n "'slotian yfed." Mae tarddiad y gair, efallai, o *ys-llawd-ian;* yr *aw* yn troi yn *o* ar ol rhoddi olddawd, a'r *d* yn troi yn *t* afreolaidd mewn berfau, fel yn bwy*ta* a coe*ta*—o *bwyd* a *coed,* Er fod y gair agored, "yslotian" wedi gadael lle i wahanol farnau gael eu ffurfio yn ei gylch ; y mae lle i feddwl mai "yslotian yfed," olygir yma yn fwyaf neillduol, ac mai *yfed dioglyd* yw yr ystyr.

YSLWT—Llygriad neu Gymreigiad o'r gair Saesneg *slut,* sef *budrogen* yn Gymraeg. Gelwid canwyll a wneid drwy dynu math o gerpyn hirfain drwy wêr toddedig yn "ganwyll 'slwt." Medd hen air :—

"'*Slwt* i'r hanner sy'n golchi ddydd Gwener,
A '*slwt* i'r asgwrn sy'n golchi ddydd Sadwrn."

YSLYGAIDD — Llygriad o *slug*, yn golygu *diawch*, *diwaith*, *syrthni*, &c.

YSMIC—"Clywed pob ysmic." *Ysmic* yw *cilweniad*, *cilwen*, *llygadiad*, *nwyfolwg*, &c. Hefyd, *ymguddiad*, *ymgeliad*, *sibrydiad*, &c. Yr olaf a olygir yma. Chwarau *mic* a chwarau *ysmic* yw *ymguddiad* wrth chwarau, sef *migymguddio.*

YSMWCWLAW.—Ystyr *ysmwcan* ydyw *pwff o darth* neu *niwl*, neu *chwa o darth* neu *niwl.* *Ysmwcwlaw* gan hyny, ydyw *awelwlaw* neu *ysgafnwlaw*, sef *chwâ* o *wlaw.*

YSNIFFWL — "Yr hen *'sniffwl* brwnt." Anhawdd dyfalu beth yw *ysniffwl*, os nad ysni*f*wl, yr hwn yn y

Groeg, medd Richards, yw *nephele*. Ystyr *ysnifwl* felly yw *niwlyn*, sef "yr hen *niwlyn* brwnt," neu "yr hen *niwlyn* gwenwynllyd."

YSNORIT—Llygriad o *snore* y Saesneg, sef *chwyrnu*, yn debygol.

YSNWFFIAN—"Ysnwffian crio." Gair o'r un feddwl a *snuff* y Saesneg, yn golygu *trwynsori*, *sori*, *ymddigio*, &c.

YSNYFWL—Gair a arferir am ymdroi yn yr un fàn, megis, "Beth wyt ti'n 'snyfwl yn y fàn yna o hyd?" Ni fedd y Gymraeg y fath air ag *ysnyfwl*. Ymddengys, yn ol pob tebyg, mai llygriad o *snivel* y Saesneg ydyw, yn golygu *llysnafedd*, *crewtian*, a *gweflio*. Yr ystyr felly yw, "Beth wyt ti'n *gweflio* yn y fan yna o hyd?"

YSPONDIO—Llygriad o *respond*.

YSPWYLIO—Llygriad o *spoil*. Llygriad drachefn, yw *spoil* y Saesneg am *ysbail* y Gymraeg.

YSTAES—Llygriad o *stays* neu *corset*—gwasgrwym merch.

YSTERACH—*Yster*, ac *ysteraig* yw *awch*, *awchus*, &c. Yster*ach*, gan hyny, yw *awchwr* neu *awchyn*, gwrywaidd; ac *awchen* neu *awches*, benywaidd.

YSTIG.—Yn ol y Geirlyfrau, dyfalbarhaol, diwyd, llafurus, &c., yw ystyr yr ansoddair *ystig*; ond rywfodd, ei ystyr priodol yn syniad cyffredin gwlad yw cymmwynasgar, ewyllysgar, parodol, a'r cyffelyb.

YSTILIO—"Holi a stilio." Yst*y*lio, yn briodol, yw y gair, ac nid ys*ti*lio. *Ystyl* yw yr enw, ystyr yr hwn yw *bywiogedd*, *siongcedd*, &c., a'r ferf yw *ystylio*, sef y weithred o *brysuro*. *Holi a phrysuro* ydyw ystyr *holi ac ystylio*.

YSTOFIO.—*Ystofi* ac *ystofio*, yw *croni*, *cronellu*, &c. Gair Cymraeg da yw hwn.

YSTOMPIO.—Arferir *ystompio* am guro neu daraw y traed yn drwm wrth gerdded, nes y byddo y cerddedwr yn chwalu y llaid arno ei hun, ac ar eraill a fyddont yn agos iddo. Cyfystyr yw *ystompio* â *diblo.* Arferir yst*w*mpio yn gyfystyr ag yst*o*mpio mewn rhai parthleoedd.

YSTONDIO.—"Ystondio i Lanystyndwy" gan Owen Gruffydd—"yn *'stondor* Llanystyndwy" gan Wiliam Elias, Plas-y-Glyn, Môn. Ymddengys mai llygriad o'r gair Saesneg *standing* ydynt; a'r meddwl a roddir yma, fel yr ymddengys, yw *standing off*, sef *hwylio* neu *gyfeirio* tua Llanystyndwy.

YSTOTYN—Gair arferedig am fachgen neu ddyn byrsyth. Ni cheir ys*t*o*t*yn yn y Geirlyfrau, ond ceir ysto*d* ac ysto*d*yn. Gŵyr pawb am *ystod* amser nad yw hwnw yn briodol yma; gwyddys drachefn am *ystod gwêydd.* Hwnw, mae'n debyg, yw gwreiddair yr *ystodyn* hwn.

YSTRELGI.—Ystre*ll*gi ac nid ystre*l*gi y dylai fod, o ystrell, fel yn 'strim-'stram-*'strellach* gan y Bardd Cwsg; *ystrellach* yw y gair gan Spurrell, sef rhol, rholach,—yn rhy ddiog i gerdded.

YSTREPOG — "Yr hen 'strepog ddiog" am fenyw *swrth, esgeulus,* a *diddarbod.*

YSTRYDWM—Gair arferedig am rywbeth hir, eiddil, &c. Ystyr *wm* yw *gwasgawd, cudd, cysgod, ceuedd,* &c. Felly tybid yr ystyr yna yn gymhwysadwy fel olddawd i *ystryd,* i olygu rhywbeth *hirfain* neu *hirgul.*

YSTRYFFAGLIO — "Beth wyt ti'n ystryffaglio ffordd yna?" Darnodiad o ddyn yn ymdrechu myned trwy le afrwydd, cymhlith o bob dyrysni, megis drain, eithin, mieri, &c.

YSTWNA.—*Twn* yw *bwlch, toriad,* &c. *Twna* yw *bylchu, tori,* ac *ys* yn ei rymuso. Gair lleol o ystyr lleol ydyw, yn golygu yn werinol, ddioglyd weithio difudd.

YSTWNSIO—O *stanch* y Saesneg a'i Gymreigio felly. Gair lleol eto, o ystyr lleol.

YSTWYRIAN.—Dywedir am ddyn fyddo'n ymysgwyd wrth ddylyfu gên *(gaping)*, neu wrth ddeffro yn sydyn o drymgwsg, ei fod yn *ystwyrian. Ystwyrain,* yn briodol, yw y gair, sef *ymsythiad dioglyd* y corff, *ymledu, swrthymestyn,* &c.

YSTYFFIGAN — "Beth yw'r *'styffigan* sydd arno?" Hyd y gallaf fi ddyfalu ei ystyr, tybiaf ei fod yn lled agos i fod yn gyfystyr â'r gair *bustachu,* er nad yn hollol felly.

YSTYL.—Llawn ystyr y gair yn y parthau hyn ydyw "yn fynych," megis mewn rhydd ymddiddan—"Bydd hwn a hwn yn galw acw ystyl"—bob tro y caffo gyfleusdra; ond perthyna i'r gair ystyron eraill lled agos i'r gair *mynych,* er nad hollol gyfystyr.

YSWATIO.—Tebyg fod *yswatio* ac *ysgwatio* yn deilliaw o *squat,* yr hwn a olyga *crycydu* a *cyrcydu* o'r enw *squat,* sef *crwcwd* a *cwrcwd.* Felly *yswat* yn enw, ac *yswatio* yn ferf.

---

Heblaw y geiriau blaenorol, y mae yn Sir Gaernarfon, yn gystal a siroedd eraill Cymru, lawer o dafod-ddulliau ac o ddywediadau na cheir eu bath yn hollol gan un genedl arall, er fod gan bob cenedl eu gwerin-eiriau, heb fod yn Eirlyfr-eiriau, fel hwythau. Y mae yn hen arferiad yn Sir Gaernarfon i adrodd rhyw nwyd-eiriau, neu fath o frâwddegau ffrystiog, pan fyddo tymher y

llefarwr wedi myned yn aflywodraethus, ar achlysuron o bryder, cyffroad neu ddyryswch yn y meddwl, megis y rhai canlynol:—Ar fengoch i—Beth gebyst?—Bond-i-grybwyll—Bond i son—Byth o'r fàn—Clustfeinio—Da gynddeiriog—Dall bost—Diaist a mina'—Diwedd anwyl—Dratia fo—Dyn cato—Fforsyth—Gloefi—Gwadnu—Gwaetha' fo yn ei ddannedd—Gweithio ei hochor hi—Hyd y carn—Hylldod—Llygad y Ffynnon—Mae o wedi myn'd yn holics—Mae o'n iwin wyllt—Meistr corn—Mêl ar ei fysedd—Myn cebyst—Myn diagan i—Myn diaist i—Myn gafr—Myn y firi faglog—O daria—Syth bin—Tad anwyl—Taw a bugad—Taw a dulio—Toc y da—Wala—Wirionedd ina—Y cebyst gwyllt—Yn glyfar ofnaswy—Yn y graspil—Yr hen begor—Yr hen benci—Yr hen chwiwgi—Yr hen draffwch—Yr hen drychfil—Yr hen fwlsyn—Yr hen ffagwd—Yr hen ffurcan ffawydd—Yr hen ffwlbri—Yr hen ffwlcyn—Yr hen gono—Yr hen gyrnopyn bach—Yr hen hannerco gwirion—Yr hen hogsiad ddulio—Yr hen lipryn—Yr hen lolyn—Yr hen rafil—Yr hen ridyll y cynrhon—Yr hen stordyn—Yr hen wichyn—Yr hen wlanen—Yr hen wrachen—Yr hen Wyddel, &c. Rhyw ymadroddion hynod, erbyn y manylir arnynt, ydynt yr hen eiriau breision blaenorol. Y maent yn hynod o gyfleus a defnyddiol, pan y byddis eisiau gwthio cymmaint o ystyr ag a ellir i olygu pob hylldod ac erchylldod o feddwl. Nid oedd yr hen Gymry yn arfer tyngu a rhegu mewn geiriau estronol, tarddedig trwy y Saesneg, fel y gwna y Cymry presennol; ond arferent, mae'n wir, regfeydd yn Gymraeg—math o regfeydd didramgwydd, fel y rhai canlynol:—Cychwyn tirion! Cymhorth tirion! Cymry tirion! Diawst ti! Gwaed llosgwrn y gath! Gwaed y gog!

Gwarchod pawb! &c. Ond y maent bellach wedi diflanu agos oll o'r tir, ac ond ychydig yn cofio dim yn eu cylch. Wele eto rai geiriau a arferir gydag anifeiliaid :—Cymhodder, ho, heit, tsi, wetsi, we, wo-hop ar y ceffyl; how, trw, trwia, prwdi ar y gwartheg; swc swc ar y lloi; gis neu gus ar y moch; pws pws a titw ar y gath; siow a tsicod ar yr iar.

Ar adegau cythryblus y gwylmabsantau, pryd y byddai gwahanol bleidiau cwerylus yn ymrafaelio â'u gilydd, y dull arferol o adnabod trigolion pentrefi neu blwyfydd oedd, wrth wahanol lysenwau, deilliedig oddiwrth "Ddysgoganau allegol y Derwyddon neu genadaethau ffugurol tywysogion rhyfel, a chadbeniaid byddinoedd y naill at y llall, yn amser rhyfeloedd—fel mewn amser diweddarach y daeth Arfbeisiau Arglwyddi cyffiniol a thir berchenogion rhandirol, yn arwyddion a ddynodent *y bobl* a ymladdent dan faner y prif foneddwr hwnw, megis *Dreigiau* Gwynedd, *Eryrod* Eryri, *Llanciau* Eryri," &c. Os nad ê, codent oddiar ansawdd naturiol y lleoedd, presennoldeb creaduriaid a'r tueddfryd a fernid yn amlygu ei hun gryfaf yn anianawd y preswylwyr, megis Gwirioniaid Aberdaron, Llwynogod y Rhiw, Brain Bryncroes, Môch Edeyrn, Cŵn Nefyn, Lladron y Pistyll, Brain Llanor, Gwŷr byrion y Berch, Gwŷr llymion Llanarmon, Gwŷr cobog Llangybi, Stonders Llanystyndwy, Cregyn Criccieth, Cacwn Treflys, Gwybed y Gest, Cogod Dolyddelen, Bustych y Pennant, Geifr Beddgelert, Cochiaid Cilgeraint, Corbris yn Ngheraint, Picynau Clynnog, Piwiaid Dwygyfylchi, 'Steni Llanhaiarn, &c. Ymddengys mai gwae a ddisgynai "fel huddigl i botes," i ran y sawl a feiddiai ond prin grybwyll yr hen lysenwau goganol yn nghlyw

trigolion y lleoedd hyny ag y priodolid hwy iddynt, fel y dengys y llinellau hyn :—

> "Ni feiddia undyn yn ei ên
> Yn Llanhaiarn waeddi 'stên,'
> Er mor amal ydyw'r steni,
> O Lanhaiarn i Bwllheli."

Dichon nad y ffurf ydym ni wedi ei roddi ar liaws o'r geiriau, yn y benod hon, yw yr un iawn, ond yr ydym wedi eu hysgrifenu fel y seinir hwy gan werinwyr y wlad. Anhawdd iawn i glust gipio rhai geiriau oddiar lafar y brodorion, am nad ydynt yn eu seinio yn ddigon araf i neb allu eu deall ; neu yn hytrach, ni wyddant pa lafariaid y llithrant drostynt mor ysgafn a diargraff.



## PENNOD II.

"*Mae amser yn pasio ymaith, ond mae dywediadau yn aros.*"

Yma dodir crynôad o hen ddywediadau, diarebion, a gwirebau, am mai yr enw mwyaf sathredig ar y naill a'r llall o honynt yw, "yr hen air," neu "yr hen ddywediad," a'r dull arferol o ddwyn y naill a'r llall o honynt i mewn i araith neu draethawd yw, gyda rhagarweiniad o'r fath a ganlyn :—"Fel y dywed yr hen air ;" yr hyn sydd ar unwaith yn galw am ystyriaeth a gwrandawiad, o herwydd hynafiaeth ac awdurdod—am fod yn rhaid iddo fod yn "*hen*" brofiad, i'r diben o fod yn gadarn. Ceir ynddynt yn fynych eiriau yn ngôl geiriau, trysor o fewn trysor, gem o fewn gem—yr oll sydd eisiau yw cyffwrdd.

Gwelir ynddynt yr addasrwydd o grynhoi a rhoddi llawer mewn cylch bychan—ambell frawddeg yn cynnwys mwy, ac yn awgrymu mwy, na phe ysgrifenasid cyfrol. Geiriau bychain ydynt hyfrydaf i'w darllen a'u gwrandaw, a llyfrau bychain a ddarllenir fanylaf. Mor rymus yw ambell frawddeg yn iaith cartref a gwlad. Y mae lliaws o honynt wedi ymdreiglo i lawr drwy ganrifoedd o flynyddau, ac wedi ymgymmysgu â ffrydiau eraill llenyddiaeth, fel y mae yn annichon penderfynu gyda dilysrwydd y man y tarddasant. Arweinia hanesiaeth ni at darddellau rhai o honynt, ond os gofynwn iddynt o ba le y tarddodd y gweddill, eu distawrwydd a awgryma y priodoldeb i ninau fod yn ddistaw, canys y

maent yn lloffion oddiar feusydd hen oesoedd a chenedlaethau lawer, ac yn arferedig cyn bod yr Efengyl na'r Bibl yn ein iaith ; a byddai yr hen bobl yn dra hoff o'u dwyn i mewn, er egluro a chadarnhau eu dymuniadau.

Nid ydym wedi casglu diareb-eiriau o Eirlyfr W. O. Puw nac o attodiad T. Richards i'w Eirlyfr yntau ; ond y mae genym amryw o'r rhai sydd ynddynt, ac hefyd amryw allan o'r Ysgrythyrau Santaidd, yn nghyda lliaws o hen frawddegau ag sydd a'u hadau i'w cael mewn rhanau o'r Ysgrythyrau.

Amlwg yw fod gwahaniaeth yn awr yn nghynaniad a llythyreniad geiriau i'r hyn a arferid gynt—yr un frawddeg yn ymddangos mewn llawer ffurf—a'r oll wedi eu cyfnewid, i'r diben i'w cyweirio yn well at iaith y gwahanol ardaloedd, er ceisio gwneyd Cymraeg presennol o honynt.

Ar yr ystyriaeth nad oes odid un arferiad nad ellir o ryw gyfeiriad ei esbonio, neu o leiaf, mai peth dyddorol yw ceisio at hyny, brithasom y casgliad hwn â nodiadau, gan eithrio yr oll o'r hen ddywediadau eglur, a'r un modd y rhai amheus.

I'r sawl a ŵyr ychydig am deithi y Gymraeg, y mae yn amlwg fod gwahaniaeth yn null y werin gyda rhai geiriau a dra fynychir yn y bennod hon, fel yn y geiriau *càn, cỳn*, a *mòr*—cyn laned, cyn wyned, &c., pan byddo'r naill a'r llall o honynt yn cael eu lleoli megis rhagferf. Yr un peth yw *cyn wyned* ag *mor wyn.* Es. i. 18. "Ant cyn wyned a'r eira ;" *hyny yw,* mor wyn a'r eira. Y mae'r arferiad, nid mewn rhanbarth yn unig, ond yn gyffredin dros y Dywysogaeth. Hefyd, mewn rhai lleoedd, mae'r ferf yn ddealledig, ac nid yn llafaredig, megis, "Goreu defawd daioni," "Heb

Dduw, heb ddim," &c. Bellach, ceisiwn dynu y llwch oddiar rai perlau o honynt, a'u dangos yn eu gloewder a'u gwerth, gan eu dodi i lawr agosaf ag y gallwn i'r drefn gyffredin gyda phethau o'r fath—yn wyddorol *(alphabetical)* yn ol ystyr gwyddor *llythyrenau yr iaith*, gan ddechreu yn y llythyren

## A.

A achwyno heb achos, caffed achos.

Abl i bawb ei gydradd.

Achos heb achos o hono.

Sef fod llawer yn tynu gofid yn ddiachos.

Achub cyfle.

Achub y blaen.

A chwenycho ddrwg i arall, iddo ei hun y daw.

A chwenycho y rhosyn goddefed y draen.

Adar o'r unlliw ehedant i'r unlle.

Yr addysg yw, mai *unoliaeth* y sydd yn egwyddor i *reddf*. Ni welir mo'r *colomenod* yn ymgymmysgu â *brain*, &c. Ceir ambell i *eithriad* y mae'n wir, ond nid *rheol* mo unrhyw eithriad.

Addaw mawr rhodd fechan.

Addaw teg a wna ynfyd yn llawen.

A ddechreuo lawer o bethau ni orphen ond ychydig.

Addef cam a ddwg gymmod.

A ddigio heb achos cymmoded heb iawn.

A ddiogo'n ifangc fydd gry'n hen.

A ddwg bin a ddwg bwn.

A ddwg wy a ddwg yr iar.

A ddygo bedol, fe ddwg yr ebol.

A ddygo wy a ddwg fwy.

A ddywed y peth a fyno gaiff glywed y peth nas myno.

Aed a gais glod o'i gydnabod.

Aerwy cyn buwch.

Aerwy y gelwid y dorch *(torques)* a wisgai milwyr Prydeinaidd am eu gwddf wrth fyn'd i'r gâd ; ond yn awr ni ddefnyddir at uwch pethau na thenyn i gylymu gwartheg mewn beudy.

A feddwl ddrwg drwg ddaw iddo.

A fo ddig'wilydd fydd ddigolled.

A fo â chrys gwellt, gocheled y tân.

Golyga y gair *gwellt* unrhyw ddefnydd parod i dân, a'r *crys* a olyga ddilledyn *hylosg*, a'r ystyr yw, a fo â dilledyn hylosg, gocheled dân.

A fo'n gwybod fwyaf a ddywed leiaf.

Afraid cyngor i hen.

A fu a fu, a ddarfu a ddarfu.

A fyno Duw a fydd.

A fyno glod bid farw.

Fel rheol erlidir a chondemnir y byw pa mor dda bynag y bo, tra y gorganmolir y marw gan nad pa mor ddrwg y bu yn ei fywyd. Y mae yr hen air yn awgrymu "Os myni fyw annghlod yw dy ran." Perchir y marw pan nad all ei werthfawrogi yn llawer mwy na'r byw, yr hwn fyddo'n haeddiannol o hono.

A garo a gerir.

A gair Duw yn uchaf.

Ag annoeth nag ymryson.

A geir yn rhad a gerdd yn rhwydd.

Agor am lawer a chauad ar ddim.

Agor dy lygad cyn agor dy gêg.

Agosaf i'r eglwys pellaf o baradwys.

Angau a gyrch ac nid adfer.

Angel pen ffordd diawl pen pentan.

Cymhwys i lawer un yw'r hen ddywediad garw hwn.

Angen a bair wingo.

Angen a bryn ac a werth.

Angen a ŷr wrach i drotian.

Angen gŵr yw engan gareg.

Angen yw mam dyfais.

A'i anadl yn ei ddwrn.

Yr ystyr yw, pwysigrwydd brys—peidio colli amser efo dim, bydded y peth y bò, sef gorweithiad y corff ar unrhyw fater.

Anhawdd ymadael â hen arfer.

A'i ben dan ddw'r.

Y darostyngedig ei amgylchiadau.

A'i ben yn ei blu.

Un di-awch at bob peth, a sorllyd at bob peth a olygir yma—un cas ganddo waith, a chignoeth ei deimlad at bawb, yn debyg i'r falwen yn tynu ei chyrn i fewn pan gyffyrdda rhywun â hwy.

A'i ben yn y gwynt.

Cymhwysiad o'r annhaclus, didrefn, di-ddal a gwamal.

A'i dinbren ar ei arau.

Yr anystig.

A'i drwyn ar y maen llifo.

*Dyfal-barhad* gyda'r *un* gorchwyl yw yr ystyr a rydd y dywediad yna.

A'i feddwl gydag ef.

A'i fys ar ol pawb.

Yr athrodwr.

A'i fys yn mrywes pawb.

A'i ffrwyn ar ei wàr.

*Penrhyddid* olygir wrth y dywediad hwn, sef un wedi cael ei ffordd ei hun yn mhob peth i wneyd fel y mynai, yn debyg i anifail nwyfus heb ei dori i fyny at waith.

A'i gàr ar ei gefn.

A'i gloch yn uwch na neb.

Yr awyddus i fod yn ŵr blaen.

A'i gorn dano.

Darostyngedig gan gystudd. Tarddodd y dywediad, yn debygol, o anffawd yr anifail.

A'i gynffon yn ei afl.

A'i lach ar bawb.

A'i lygad dros ei ysgwydd.

Yr ystyr yw bod dyn yn edrych yn ofalus tros ei eiddo, ar fod pob peth yn cael ei wneyd yn iawn, ac "nid â golwg wasanaeth," fel y dywed yr Apostol.

A'i lygad yn ei ben.

Ail wyneb ail fargen.

Ail ydyw Huwcyn i Ffowcyn.

Ail ydyw mygu (mogi) i dagu. Hefyd, Brawd yw mygu i dagu.

Ail yw cymmwynas i ddyreidi.

A laddo a leddir.

Almanac yr henwr yw ei gorff.

Allan o ddyled allan o berygl.

Allan o hyd hydoedd.

Golygir "o *hyd hydoedd*" yn gyfartal i "*byth bythoedd.*"

Allan o olwg allan o feddwl.

Allwedd tlodi, seguryd.

Amcan gof a mesur teiliwr.

Yr ystyr ydyw diffyg *manylwch mewn mesuriad.* Gellir gweled y gwahaniaeth hwn yn amlwg yn y crydd a'r saer olwynion gyda manylwch eu mesuriadau.

A'm gwaredo i!

Aml ei goed aml ei dân.

Y *cydansoddau* yw yr ystyr, *coed* a *than*—defnydd tân da yw coed, fel mewn ffurf arall: Aml ei *gynhen* aml ei *gecraeth.*

Aml gnoc dŷr y gareg.

Amser a ddengys.

Amser a llanw ni erys wrth neb.

Amser sydd i bobpeth.

Anhawdd blingo hwch â chyllell bren.

Anhawdd bwyta llymru â mynawyd.

Anhawdd cael cosyn glân o gawsellt budr (cawslestr).

Anhawdd cael cyw da o wy drwg.

Anhawdd cael neb heb arno frycheuyn.

Anhawdd dal y ddysgl yn wastad.

Anhawdd dwyn dyn oddiar ei dylwyth.

Anhawdd ei eillio.

Anhawdd rhedeg oni ellir cerdded.

Anhawdd twyllo hen adar.

Anhawdd tynu cast o hen geffyl.

Ymadael ag arferion drwg olygir yma.

A ofno'r dail nid â i'r goedwig.

A ogano a ogenir.

Araf a dygn a ennill y gamp.

Araf a sicr.

Ar ben ei ddigon.

Ar bigau'r drain.

Ymadrodd diarebol yn golygu anesmwythder o ran awydd, awch, disgwyliad, a chyffelyb deimladau.

Ar dafod leferydd.

Ar darawiad amrant. Hefyd, Ar amrantiad.

Ar dir llafur y mae'r brenin yn byw.

Ar draws ac ar hyd.

Myned neu ddyfod heb lwybr neillduol.

Ar draws ei drwyn.

Pan yr edliwir rhywbeth i rywun, dywedir ei fod yn ei gael "Ar draws ei drwyn," yr hyn y sydd yn edliwiad brathgnoawl, o ran ystyr yn gyffelyb i "*Cut my nose to spite my face*" y Saesneg.

Ar ddiwedd y mae barnu.

Ar ei hwda. Hefyd, Cael ei hwda.

Ar ei hyd-gyhyd.

Arfau sy'n gwneyd crefftwr.

Arf doeth yw pwyll.

Ar flaenau 'i draed.

Cerdded neu godi "ar *flaenau 'i draed*," a olyga ddyn *ysgafndroed*, *chwim*, *sionc*, a *nwyfus* ei *gamrau*—un yn balchïo.

Ar flaenau 'i fysedd.

Syniad godidog a geir yn y dywediad yna, sef meistrolaeth drylwyr ei fysedd yn cyflawni pob peth yr ymaflo ei law ynddo i'w wneuthur gyda'r hwylusdod a'r rhwyddineb esmwythaf a mwyaf dillyn, bydded allu *corff* neu allu *meddwl.*

Ar gefn ei geffyl cwta.

Arferiad yr uchel ach oedd tocio cynffonau eu meirch dewisol at wasanaeth personol—gwaedog ac anhywaeth y march hwnw, a gogyffelyb ei farchogwr gwaedwyllt, ffrom ac anhydrin.—Dyna y gŵr ar gefn ei geffyl cwta—drwg ei dymher—blin i'w gymdeithion. Gwarchod pawb rhag bod yn agos ato!

Ar gefn ei goblyn.

Yr ystyr a olygir yw, bod mewn tymher anniddig ac ystyfnig.

Ar gerdded fel beili.

Ar gerdded fel ci drwg.

Ar g'oedd gwlad.

Ar gof a chadw.

Ar gŷd.

Ar gyfyng-gynghor.

A rhyw ben o'r wain beunydd.

Yr anghenus.

Ar lasiad y dydd.

*Glasiad* y dydd yw *toriad* y dydd.

Ar ol gwaith, gorphwys.

Ar ol yfed syched sydd.

Aros i'r diwrnod fwrw ei wenwyn.

Priodolai yr hynafiaid oerni y nos i effeithiau y lloer, yn gystal hefyd a'r barug trwm a'r gwlith fyddai arferol o ddisgyn. Ymddengys fod ystyr "Aros i'r diwrnod fwrw ei wenwyn" yn cael ei gymhwyso at effeithiau gwres y dydd, ac oerni y nos.

Ar y carbed.

Asgre lân diogel ei pherchen.

Asgwrn i'w gnoi.

A wlych ei droed a olch ei drwyn.

A wna heb arch ni cha barch.

Sef a wna gymmwynas heb ei gofyn.

A wnel dwyll a dwyllir.

Awydd a dŷr ei wddw.

A ŵyr leiaf a wed fwyaf.

## B.

Bach dechreu pob mawr.

Bach y nyth.

Bachgen a adwaenir wrth ei waith.

Baich ar natur yw dyn segur.

Baich dyn diog.

Balchder heb droed.

Hyny yw, heb foddion i'w borthi.

Bargen ddrud yw cyrchu o bell.

Bargen fyrbwyll wna hir ofid.

Bargen gymhell.

Yr ystyr yw, fod y *cymhelliad* yn sefyll o du y *gwerthwr*, ei fod yn awyddus i werthu yr hyn oedd yn gwneyd gwerth y fargen yn îs nâ'r *gwir* werth, a'r prynwr yn llai awyddus am y fargen.

Bargen pawb yn ei dŷ.

Pan yn cadw cyfrinach fasnachol—mynegi cyfrinach mewn ymddiried, ond y gweddai ei hadrodd i hen wraig am ei bod yn fantais iddi ei gwybod, gan awgrymu iddi ei chadw, dyna'r ateb diarebol gaed ganddi—mor fynegiadol!

Bedyddio fy mhlentyn fy hun yn gyntaf.

*Rhufeiniaeth* yw y *bedyddio* yn y cyssylltiad hwn. Pan ddaeth yr arferiad o *fedyddio* plant, cyssylltid â hyny yr *enw*, fel y dywedir yn fynych, "Cefais fy *medyddio* yn *John* neu *Jane*, tra nad oes â fyno *bedydd* ddim â'r *enw*, na'r *enw* â bedydd. Yr ystyr i *fedyddio* yn yr ymadrodd blaenorol yw *helpio* neu *wasanaethu* fy mhlentyn fy hun (*fy hunan*) yn gyntaf.

Beichio fel tarw.

Bendith eich mam arnoch.

Bernir yn well a geir o bell.

Berwi ei grochan.

Beth dâl dyn ond ei air.

Beth yw pris pen heb ddim tafod?

Distawrwydd, yn debygol.

Bid gam bid gymhwys.

Y mae *bid* yn hynach na *boed* a bydded, fel y dywedir hyd heddyw,—*bid* a fyno, ac nid *boed* na *bydded* a fyno.

Blingo croen y ddafad farw.

Ffurf arall, "Gwisgo croen y ddafad farw."—Cymhwysir y gyntaf at un a fyddo ar dreulio allan ei holl olud, a'r olaf at un fyddo yn gwisgo dillad un fu farw.

Blingo'r gath hyd at ei chynffon.

Trafferth neu draul fawr gyda gorchwyl, a'i adael o ychydig yn anorphenol.

Blin gwaith pob annghynefin.

Blino ar ei esmwythdra.

Blwyddyn newydd dda.

Blys bachgen yn ei lygad.

Blys lodes yn ei bol.

Boddi'r melinydd.

Pan ddigwyddo i rywun yn anfwriadol roddi gormod o ddwfr yn y blawd at dylino.

Boliad ci bery dridiau.

Boreu pawb pan godo.

Bostiwr mawr, gwneuthurwr bychan.

Brawd i'r awydd ydyw'r afraid.

Brechdan fêl am achwyn.

Dyna'r edliwiaeth ga plant bob amser, sef brechdan dan ymenyn a mêl.

Brechdan i aros pryd.

Brefu fel llo.

Breuddwyd gwrach yn ol ei hewyllys.

Buan yn addfed buan yn bwdr.

Bu colled fwy ar y môr lawer tro.

Bu genyf gynt, yw gŵr tlawd.

Bum cy'd yn mol fy mam a thithau.

Buwch dyn tlawd a phlentyn gŵr cyfoethog fydd farw bob amser.

Y syniad yw, fod colli buwch i ddyn tlawd yn fwy o golled iddo ef, nag yw colli plentyn i ŵr boneddig mewn ystyr o fyw.

Buwch dda yn cicio'i llaeth.

Bwrw bara drwy'r drybedd.

Trybedd yw *offeryn* ar farau y tân i ddal *gradell* i grasu bara. Os na roddir y gradell ar y drybedd, syrth y toes trwy y drybedd i'r tân i'w losgi, felly gwastraff a olygir wrth *bwrw bara drwy'r drybedd.*

Bwrw cath i gythrael.

Llafar gwerin ydyw *cath* am *caeth,* fe ymddengys. Byddai yn arferiad yn yr hen amser o aberthu caethion i'r duwiau drwy eu bwrw i lawr o ben rhyw glogwyn. Cyfieithir y ddiareb yn y *Cambro Briton* fel hyn,—"*To devote a slave to the destroying power.*" Diofrydu caeth i'r gallu dinystriol.

Bwrw drwy 'i gesail.

Un arferol a dyweyd cryn lawer o gelwydd.

Bwrw drwy'r gribin.

Bwrw dy naw.

Arferiad o ddyweyd am un fyddo yn ymdroi—yn treulio amser gosodedig ymaith yn ddifudd. Heblaw y gellir rhoddi amser pennodol yn ystyr i *naw* a welir yn ol arfer y Rhufeiniaid gynt yn nosbarthiad eu Calendar misol, &c., gellir rhoddi aml i siampl o ddefnyddiad felly o hono yn mysg hen ymadroddion diarebol, megis yn y "Tri naw arbenig—Naw tòn y weilgi, Naw radd y nef, a Naw mis tymp." Yn yr olaf, yr amser; "disgwyl ei hamser"—"amser y fuwch"—"y naw." Sonia'r meddygon y bydd y claf yn *altro* yn mhen y naw diwrnod. Yr oedd gan yr hen bobl eu "lleuad naw nos olau"; a'u "naw wfft iddo," am ddyn fyddai yn nodedig ar gyfrif ei gelwydd, ei drwstaneiddiwch, &c. Dacw'r bachgen, pan wedi ei yru ar neges, ac â chanddo

dipyn o amser i fyned, yn troi at fin yr afon i *splentio cerig* i ddifyru ei hun. "Beth wyt ti yn ei wneyd fel yna, John?" "Dim, ond rhywbeth i *fwrw yr amser* heibio," ebe yntau; ond ar hyn, dyma'r fam wedi blino yn disgwyl—wedi dyfod i'w geisio, ac yn gwaeddi yn ffrom—"Tyr'd oddiyna di—beth wyt ti yn wneyd yn fan yna yn *bwrw dy naw*"—ymdroi, ofer-dreulio, bwrw ymaith yr amser arbenig.

Bwrw hen wragedd a ffŷn.

Bwrw'r amser heibio.

"*Bwrw* 'r draul," "Dyfod acw i *fwrw* 'r Sul," &c. Ystyr y *bwrw* hwn yn y gwahanol gystrawenau hyn yn eglur ydyw *bwrw.* Am yr ystyr yna yr arferir *bwrw* yn mhobman.

Bwrw'r tŷ drwy'r ffenestr.

Bwyta bara segur.

Sen i'r diog.

Bwyta bwyd y drwg ei lygad.

Bwyta fel mochyn.

Bwyta'r mêl o'r cwch.

Difa rhywbeth yn anmhrydlawn.

Bwyta ysgyfarnog cyn ei dal.

A olyga fwyta ei fara cyn ei ennill.

Bydded y gerdd yn ol y testyn.

Bydd ei waed ar dy ben.

Bydd fyw eidion, bydd fyw, mi welais filfriw.

Bydd fyw i fyw.

Bydd rhywun eto wedi tori cynffon ei gi.

Bydd y diog naill ai ar y ffordd neu y goleuni yn mhobman.

Bŷr garu bair hir guro.

Bŷr o gorff bŷr o feddwl.

Byth-a-hefyd.

Byw ar ei floneg fel pry' llwyd.

Deallir mai anian hwnw yw sugno ei gynnaliaeth o'i frasder ei hun am ystod misoedd ei gwsg, fel un o'r saith gysgadur. Cyfrifid y byddai arno naw pwys o floneg naw noson cyn y

Calan—y byddai hwnw yn dda i wella y crydcymmalau—yr arferai edrych allan o'i loches ar Wyl-Fair-y-Canwyllau ; ac os canfyddai eira, y deuai allan i ymrodiana ; ond os canfyddai yr haul yn tywynu, mai cilio yn ol wnelai, yn hytrach na dyfod allan.

Byw ar oleuni dydd a dw'r.

Byw ar y gwynt.

Byw efo'u gilydd fel cŵn a môch.

Y teulu cwerylus.

Byw fel sirydd *(sheriff)*.

Un fyddo mewn amgylchiadau da, am mai rhai felly ddewisid bob amser yn siryddion.

Byw gyda'r byw a marw gyda'r marw.

Felly yn ddiau y dylem wneyd, gan ymdrechu gwneyd rhyw les i'r byw, a chladdu y marw o'r golwg.

Bywoliaeth o flaen pleser.

Byw o'r llaw i'r genau.

Byw heb weddill. Fel y mae gwaethaf y modd, ceir yn y byd lawer iawn nas gallant osgoi byw felly. Prin y gellir disgwyl i'r llafurwr tlawd roddi llawer wrth ei gefn ar gyfer "diwrnod gwlawog," mae hi yn "ddiwrnod gwlawog" dibaid arno ef.

Bywyd cath ynddo.

Gwydnedd hoedl.

Byw yn isel tyfu yn uchel.

## C.

Cadarnach yr edef yn gyfrodedd nag yn un-gor.

Cadw ci a chyfarth fy hunan.

Cadw dy afraid erbyn dy raid.

Cadw dy gerdd yn dy gôd.

Cadw dygwyl bentan.

Cyfystyr, efallai, â "Chwedl yr Aelwyd," fel darnodiad o rai fo'n gwario y dydd gyda'u gilydd i chwedleua. Os nad ê, gall olygu yn ddigon rhesymol, ddyn o orfod, o ddiffyg diwrnod o waith, yn aros gartref wrth y tân heb ddim i'w wneyd.

Cadw dy law yn lân bob amser, ychydig bach a ddwyna lawer.

Cadw-mi-gei.

Cadw'r bodiau.

Yr ystyr ydyw "Dal llygoden a'i bwyta," neu ffwdan yn "Cael y ddau ben llinyn yn nghyd," mewn ffurf arall, hyny yw, "Byw o'r fawd i'r genau."

Cadw'r symiau bychain.

Cadw wyneb.

Cael ar ei gorn.

*Corn* perthyn i ysgrifenu yw yr *Ink Stand.* Corn Du y galwai yr hen Gymry *Ink Stand* y Saeson.

Cael ar lab.

Ystyr *llab* yw *slip*, *stroke*, a *strip* y Saesneg, fel y gwelir yn *llabio* ac yslobio y Gymraeg. Hefyd *llab*yddio.

Cael ar strap.

Ar ei gyfrifoldeb ei hun—ar goel efallai.

Cael ei gefn ato.

*Ymadnewyddiad* olygir yma, bydded yr ymadnewyddiad hwnw o'r natur y bo, ai *anffawd*, *afiechyd*, *cyhuddiad*, neu *golled*, &c.

Cael llyfiad ar ei groen.

Y bodlawn, digonol.

Cael mwy na llon'd ei biser.

Cael sèn, neu ergyd gyrhaeddbell drwy ddannod.

Cael yr ast yn rhydd.

Y meistr a'r feistres wedi myned i'r ffair neu'r farchnad, a'r gwas a'r forwyn gartref—at eu rhyddid i wneyd a fynont,—felly y dealla'r werin y term o "gael yr ast yn rhydd." Eithr achlysur bathiad y geiriad yn ol hen hanes, sy seiliedig ar ymddygiad ffuantus melinyddion tuag at eu cwsmeriaid, pryd y cedwid dau felinydd bob amser bron yn mhob melin, ac yr arferid cadw gwyliadwriaeth ofalus hyd y gellid ar eu heiddo, gan y cwsmeriaid. Ond, er i *ast* gael ei henwi yn yr hen ddywediad, nid dyna olygai yn llythyrenol. Wrth yr *ast* y golygid ystyllen fechan wedi ei gosod i gau ac agor mewn dirgel foddion, tuag at fod yn hylaw at ladrata cyfran o'r cynnyrch fel chwanegiad at y doll, tra ar y ffordd o'r

hopran i'r cafn; a phan y tybid fod y chwanegiad digonol yn agoshau, llefai y naill felinydd ar y llall, "Gollwng yr ast yn rhydd."

Caled ar galed byth ni wna fur da.

Calon dyn yn nghorn ei wddw,—neu rhywun.

Anmhersonol ydyw yr hen air yma, yn dynodi *pobl* neu *rhywun*. Seinir ef fel pe b'ai yn nglŷn â'r gair nesaf ato—*calon-dyn*.

Call pob ffol tra tawo.

Cam ar y trothwy yw hanner y daith.

Can' cywilydd iti!

Canlyn y radell.

Bwyta'r ennillion dyddiol—gwario'r cyfan am fwyd fel yr ennillir hwy.

Canu caingc y wefl.

Canu cloch y bara sych.

Ymadrodd yn dynodi cyhoeddi gostegion priodas, os y pleidiau yn dlodion. Ei ystyr ydyw y bydd y tlodi yn fwy, a llai o ymenyn i'w daenu ar y bara, ar ol priodi nag o'r blaen.

Canu maswedd.

Canwyll ei lygad.

Am wrthddrych serch rhywun. Canwyll y llygad yw hanfod ei oleuni—ei *weled*. Colli y *ganwyll* hon a greai dywyllwch. Felly hanfod hoffder pob un at arall yw ei *serch*, a cholli gwrthddrych y serch hwn a greai amddifadrwydd am y gwrthddrych hwnw—tywyllwch y serch am dano.

Carai hir o groen gŵr arall.

Carchar enbyd yw carchar crydd.

Careg yn Nghwppwrdd.

"Dos adre Mari Prys bach i ffraeo, mae'n debyg na roes neb gareg yn nghwppwrdd yr un o dy deulu di erioed." Ymddengys mai sarhad a esbonir yn y dyfyniad hwn wrth roi "*Careg yn nghwppwrdd*" neb, sef na roes neb *dramgwydd yn ngenau* yr un o dy deulu i achosi i Mari Prys ffraeo â neb, oblegid hyny. Byddai rhoi *careg* mewn cwppwrdd yn lle *torth* yn beth tramgwyddus yn ei natur, yn enwedig yn nghwppwrdd perchenog *cylla gwâg*.

Cariad a drecha bobpeth.

Caseg gloff, cloff ei hebol.

Caseg wèn yn mh'le?

Cas gan gath y ci a'i bratho.

Cas gan ynfyd a'i cynghoro.

Castell dyn yw ei gartref. Hefyd, Castell i bawb ei dŷ.

Cas wely, cas godi.

Sef, "Cas ganddo fyn'd i wely, câs ganddo godi o hono." Ffurf arall yw, "Cas fyn'd i wely, câs godi i fyny."

Cauad ar ei biser.

Cau ar ddrwg.

Gwneyd ffug-gymmod heb symud ymaith achos yr annghydfod.

Cau dy geg.

Cyngor campus mewn llawer ystyr. Gyda cheg gauedig y llwydda ambell un oreu i ennill yr enw o fod yn gall. Yn ol dywediad y diarebwr Iuddewig, "Y ffol tra tawo a gyfrifir yn ddoeth; a'r neb a gauo ei wefusau yn ddeallus."

Cau'r drws wedi i'r march fyn'd allan.

Cau'r llidiart ar ei ol.

Gwastadhau ei gyfrifon oll—pob dyled wrth symud preswylfod.

Ca y gath edrych ar y brenin.

Cefais yr oll am bedwar a chwech.

Sef rhoddi yr wythfys a'r ddwyfawd am danynt.

Ceffyl da yw ewyllys.

Ceg y byd.

Myn'd i geg y byd.—Bod yn ngheg y byd.—Ystyr "Ceg y byd" ydyw "Siarad y wlad";—"Myn'd i geg y byd" yw "Myn'd yn destyn siarad y wlad"; a "Bod yn ngheg y byd," ydyw "Bod siarad y wlad am dano."

Ceiniog annheilwng aiff a dwy hefo hi.

Ceir pobpeth am arian.

Celwydd gwŷn.

Celwydd wedi ei drwsio, fel croen dafad am flaidd.

Celwydd yn dy ên. Hefyd, Celwydd yn dy gêg.

Cennad hwyr drwg ei neges.

Cenfigen a ladd ei pherchenog.

Cenwch y gloch.

Sydd ymadrodd a ddefnyddir pan fyddo rhywun wedi gwneyd rhywbeth ag y tybir yn ychydig allan o'i arfer gyffredin. Math o *adsylwad*, neu *encore*, yw y term "Cenwch y gloch," deilliedig, yn debygol, o'r hen arferiad y byddai i unrhyw ddyn, ar ol cario cyfraith, fyned i Eglwys y plwyf, a chanu y gloch fel math o ddirmyg ar ei wrthwynebydd.

Cerddediad lleidr.

Y paun a feddylir yn wreiddiol yn y darluniad yna.

Ceryg gafaelion.

Attalfeydd ar y ffordd i gyrhaedd amcanion pennodol, neu attal rhwysg un fyddo yn rhy fostfawr.

Ceulo ar ei sorod.

Biblaidd, ond ar lafar y werin fel ei dewis ymadrodd.

Cist wâg a fâg genfigen.

Clecian dy fawd arno.

Math o hèr.

Clefyd y Sul.

Sèn gerydd gyffredin iawn.

Clegar fel gwyddau.

Cymdeithion ucheldrwst, parablwyr di-drefn.

C'leta swydd clytio sach.

Cloch dan bob dant iddo.

Cloffi rhwng dau feddwl.—Biblaidd.

Cloff yw celwydd.

Clws yn y cryd, hyll yn y byd.

Ffurf arall yw, "Hyll yn y cryd, clws yn y byd."

Clwy Isallt.

Diogi. Arferir y dywediad yn Eifionydd.

Clwy'r bodiau.

Clyd clawdd i bob digariad.

*Digariad* yw *forlorn* y Saesneg, sef *diymgeledd*, felly "Clyd yw clawdd i bob diymgeledd" a olygir wrth "*Clyd clawdd i bob digariad.*"

Clytio'r 'stori.

Gwaith a phrofedigaeth y celwyddog pan ei gelwir i gyfrif am athrod, &c.

Clywed fel cath.

Clywed na siw na miw.

Clywed pob ysmic.

Cnoc dyn diog yw y goreu i dori careg.

Am ei fod yn fwy swrth a diffrwyth, efallai, neu am nad yw dyn diog yn hoffi ffwdanu llawer gyda dim—un ymdrech a wna efe, a hyny â'i holl egni; ni wna ail gynnyg.

Cnu y ddafad farw.

Cocyn rhwystr.

Plentyn fyddo yn ymwthio am sylw ar bobpeth.

Cochi hyd at y clustiau.

Codi bwganod.

Creu dychymmygol—rhwystrau er lluddio dynion i fyned rhagddynt gydag unrhyw fwriadau o'r eiddynt.

Codi cnecs.

Cnec unig; cnecian a cnecsion lliosog.

Codi ei sodlau.

Drygu arall.

Codi ei wrychyn.

Esponir *codi ei wrychyn* yn eglur oddiwrth y ffaith y bydd blew creaduriaid afresymol yn gyffredin yn codi ac yn sythu pan y byddont yn cael eu ffyrnigo, ac felly, yn dra phriodol i'w gymhwyso at ddyn pan y brocho ei eiriau at arall i brofi ffyrnigrwydd ei dymher yntau.

Codi'n foreu.

Ymadrodd a ddefnyddir yn fynych, fel o'r un ystyr a bod yn ddiwyd, naill ai mewn drwg neu dda.

Codi pais ar ol piso.

Codi'r bys bach.

Gair cyffredin am fod yn hoff o gwrw, neu yn hytrach gwirodydd, yn llechwrus.

Codi'r doll.

Codi'r ochr chwith i'r gwely.

Pan b'o rhywun yn ymdddangos yn gilwgus ac anfoddog, dywedir ei fod wedi "Codi'r ochr chwith i'r gwely" y boreu hwnw.

Codi y rhastal.

Coel clywed, gwir gweled.

Coelio dim a choelio pobpeth.

Coel gwrach ar ol ei huwd. Hefyd, Coel gwrach o'i heistedd.

Pan byddo rhywun yn dadwrdd am "bethau gwych i ddyfod" —pethau na chymmerant byth le. Golyga "ar ol ei huwd" ac "o'i heistedd" yr arfer nosawl o ymdrin â phethau o'r fath ar ol swper, yr hwn, fel rheol gyffredin, fyddai uwd.

Cof ceffyl.

Cof gan bawb a gâr.

Coflaid fach a'i gwasgu'n dŷn.

Hen air a llawer o ddoethineb ynddo.

Cof plentyn.

Cof pob dywaetha.—Diweddaf.

Coffa da am dano.

Meddir am y marw.

Colli ei blu' fel iâr wrth fwyta mwyar duon.

Un yn gwaethygu ei amgylchiadau wrth ofera.

Colli fel iar i ddodwy.

Colli rhwng llaw a llawes.

Ystyr "rhwng llaw a llawes," yw *bod mewn gafael o beth;* ac ystyr "Colli rhwng llaw a llawes," ydyw *colli y peth yr oedd yn eich gafael.*

Cosa di fi, mi cosa ina dithau.

Awgrymiad caredig—"crefydd hen geffylau" ar lafar, yn fwyaf cyffredin, ond nid yw y naill ffurf na'r llall, ar y dywediad, mor foesgar a hawdd eu cofio a'u traethu yn rhigil ar dafod-leferydd a'r ddwy hen linell—

"Cân di bennill mwyn i'th nain,
Fe gân dy nain i tithau."

Crac yn ei grochan.

Y *crochan* yma yw y *pen* dynol, a'r *crac* ynddo yw *coll cyfanrwydd*. Fel y mae *crochan craclyd* yn annghymhwys i ddal unrhyw wlybyr, felly mae coll cyfanrwydd y pen yr un modd yn annghymhwys i ddal unrhyw *swydd* o ymddiried.

Crafu clustiau.

Crafu yn mhen y tocyn fel iâr.

Craffach na'r efail.

Cregyn heddwch.

Arian wrth law.

Cripio fel cath.

Croch y cria gwaed y gwirion.

Croen am groen.

Croen uwd a chreifion llymru.

Croesaw teiliwr ydyw sefyll.

Crogi neb ŵyr, ni'm crogir i.

Crwydro fel dafad.

Crynu fel dail yr aethnen. Hefyd, Crynu fel deilen.

Crynu fel môr-wialen.

Curo haiarn yn ei wres a bwrw pres pan doddir.

Curo'i ben yn erbyn y pared.

Curo pant a thalar.

Curo'r awyr.

Arwyddair Biblaidd.

Curo twmpathau.

Chwilio ar drawsamcan—ymofyn dichellgar i geisio allan gyfrinach neu gyffelyb—cwmpasu yn lle myned at y nôd ar unwaith.

Curo y wâl wâg.

Llafurio yn ofer, ymdrech di-fudd.

C'uwch cwd a ffetan.

Cyfystyr ydyw *cwd*, *ffetan*, a *sach*, felly mae y tri gair yn ogyfuwch a'u gilydd, er eu bod yn gwahaniaethu mewn enwau.

Cŵd y gynhen.

Cŵd y mwythau.

Yr ieuengaf o'r teulu, am yr una yr oll o'r teulu i'w anwylo.

Cwlwm Nain.

Yr un a "Chwlwm gwehydd," meddir. Un nodedig ar gyfrif ei effeithiolaeth—bychan, tŷn, annattodol. Dodai Neina ef ar yr edef doredig wrth ddirwyn ei phellen, a'r gwehydd yntau pan ddigwyddai yr un anffawd wrth luchio'r wennol. Felly, pan ddigwyddai i'r llinyn rhy dŷn dori rhwng personau, dyna ddywedid, fel y cyfaniad goreu,—Rhowch gwlwm Nain arno—y ffurf deuluaidd.

Cwpan dro ydyw'r byd.

Anwadal, ansefydlog, di-ddal, ansafadwy.

Cwyd y blewyn a chwyd y blewyn dithau.

Cwyd y cudyn gwlan, cwyd y cudyn gwlan dithau.

Yr addysg yw, os na ofala dyn am ei eiddo, fe ofala ei eiddo am dano ef. Cydir yn ei berson, a gwerthir ei eiddo.

Cychwyn hi!

Cy'd ag achres Cymro.

Cy'd ag wythnos.

Cy'd ei ben a thwrne.

Cydio fel gelen. Hefyd, Glynu fel gelen.

Cydwybod dawel wna galon ddedwydd.

Cydwybod y ci at y cosyn.

Cydwybod y gath at y llefrith.

Sen i'r rhagrithiwr hunan-geisiol.

Cydwybod yn wir!

Cyfaill a lŷn yn well na brawd.—Biblaidd.

Cyfaill benthyca, gelyn talu.

Cyfaill blaidd, bugail diog.

Cyfaill pawb, cyfaill neb.

Yr ystyr a olygir yw, nas gellir gwasanaethu dau arglwydd, hyny yw, nas gall cyfaill fod yn gyfaill i bawb, y canlyniad ydyw, na bydd yn gyfaill i neb.

Cyfaill twym, gelyn twym.

Cyfarth y wâl.

Yr ystyr yn wreiddiol yw fod pob ci, pan elo at wâl pob ysgyfarnog, yn arogli ysgyfarnog yn y lle, yna yn cyfarth am nad yw i'w chael.

Cyfleusdra a wna leidr.

Cyfoethog yw'r diddyled.

Cyfra arian ar ol dy fam.

Cyfrif cywion cyn eu deor.

Cyfrif teg a thalu pan ellir.

Cyfrwys fel y sarph.

Y mae y sarph, y neidr, a'r wiber yn arwyddluniau byw o dwyll ac anwiredd yn ymlithro yn lladradaidd i fywyd dyn, gan wenwyno ei natur.

Cyhyd a chywydd.

Cymmer berl o ben llyffant.

Coelid yn yr hen amser fod careg neu berl yn mhen llyffant, a bod y gareg hono yn rhinwedddol iawn, ac yn ddefnyddiol at lawer o bethau. Ond y mae yn fwy na thebyg nad oes neb yn bresennol a goelia ddim o'r fath chwedl. Yr addysg, yn debygol, yw, na ddylid dibrisio hyd y nod y peth a ymddengys yn fwyaf dibwys a diwerth o ran golwg.

Cymmer gynghor.

Cymmeryd esgyrn y marw i guro'r byw.

Cymmeryd y goes tros gerig y Borth.

Tybiai yr hen bobl fod sarn o gerig wedi ei rhoddi ryw amser pell yn ol rhwng Mon ac Arfon, i groesi y Fenai, a phan gyflawnai rhywun drosedd, odid fawr na ddywedid wrtho am "Gymmeryd y goes tros gerig y Borth."

Cymmeryd y traed. Hefyd, Cymmeryd y carnau.

Sy ddywediad cyffredin, pan fyddo yr euog yn ffoi.

Cyn boethed a marworyn.

Cyn boethed a thân Penllech.

Cyn codi cwn Caer.

Cyn credu myn yr achos.

Cyn chwerwed a bir criafol.

Diod gerddin, a wneid o ffrwyth y gerddinen.

Cyn chwerwed a bustl y brain.

Cyn chwerwed a huddugl.

Cyn dechreu gwel y diwedd.

Cyn deneued a barcutan.

Cyn deneued a brân.

Cyn deneued a iâr yn ei thalcen.

Cyn deneued a mulfran.

Cyn deneued a rhisglyn.

Cyn deneued a 'styllen.

Cyn dewed a chlust eidion.

Cyn dloted a llygoden eglwys.

O bob tlodi, tlodi llygoden eglwys oedd y mwyaf gresynol yn ngolwg yr hen bobl.

Cyn dywylled a bol buwch.

Cyn dywylled ag eglwys plwyf.

Cyn dywylled a'r fagddu.

Cyd dywylled a thwrch daear.

Cyn ddioced a ffwlbart.

Cyn ddistawed a llygoden. Hefyd, Cyn ddistawed a malwen.

Cyn ddued a bara haidd Trawsfynydd.

Cyn ddued a'r fagddu.

Cyn ddued a'r frân.

Cyn ddued a'r parddu.

Cynnefino fel ci gof â gwreichion.

Cyn falched a Lucifer. Hefyd, Cyn falched a'r sin-go.

Cyn falched o'i gŵd ag yntau o'i sach.

Cyn faned a dannedd chwain.

Dull o ddyweyd gan deilwriaid Eifionydd, fel ag i sicrhau eu gonestrwydd yn eu gwaith o wnio.

Cyn faned a nedd yn mhenau plant Nefyn.

Hen ddywediad yn mysg cryddion Lleyn, fel awdurdod dros eu gwaith yn pwytho esgidiau yn fanwl a gonest.

Cyn farwed a phenog.

Cyn feddaled a phwdin.

Cyn feined a brwynen.

Cyn feined a choes Robin goch.

Cyn feined ag edafedd gwawn.

Cyn felyned a'r wy.

Cyn freued a baw teïliwr o flaen Pasg.

Cyn freued a gwêr. Hefyd, Cyn freued a gwêr maen-llwyd.

Cyn futred a'r golomen.

Cyn ffalsed a chath.

Cynffon gwta cynffon cymmwynas.

Cyn ffyrfed a choes oen.
Edafedd wedi ei fras nyddu.

Cyn galeted a'r gareg.

Cyn galled a'r sarff.

Cyn gamed a bachau crochan.

Cyn gamed a choes rhedynen.

Cyn gamed a chryman.

Cyn gamed a phiso mochyn.

Cyn gloffed a chi ar ei drithroed.

Cyn goched a'r gwaed.

Cyn goched a chrib ceiliog.

Cyn goched a'r tân.

Cyn groesed a dau bric.

Cyn gryfed a cheffyl.

Cyn gryned a'r bêl.

Cyn gyfrwysed a llwynog.
Y mae mwy o son am gyfrwysdra ambell greadur na'i gilydd, ac y mae y llwynog ar y blaen yn mysg anifeiliaid, a chyfeirir ato fel yr hynotaf yn hyn o beth.

Cyn gynhesed a chariad y noson gyntaf.

Cyn gynted a'r gwynt. Hefyd, Myn'd fel y gwynt.

Cyn hallted a heli tri-môr.

Cyn hylled a phechod.

Cyn hyned a ffordd fawr Griccieth.

Cyn iached a'r glaim.

Nid oes y fath air â glaim yn y Gymraeg. Y geiriau *glai* a *glain* a arferir mewn rhai lleoedd, sef cyn iached a'r *glai*, a cyn iached a'r glain. *Glai* yw *glisten* a *smooth*, a *glain* yw *spine* y Saesneg.

Cyn iached a'r gloch. Hefyd, Cyn iached a'r gneuen.

Cynnil—tra chynnil—colli tri chymmaint.

Cyn lased a'r awyr.

Cyn lased a'r cenin. Hefyd, Cyn lased a'r frwynen.

Cyn lewed a mam y cenawon.

Cyn loewed a dwfr. Hefyd, Cyn loewed a *gin*.

Cyn llaced a chroen ci.

Cyn lleied a gwreinyn.

Cyn lleted a drws melin.

Cyn llonydded a dafad.

Cyn llwyted a lludw. Hefyd, Cyn llwyted a llymru.

Cyn llwyted a phe'n bwyta gwellt ei wely.

Cyn llymed a charlwm. Hefyd, Cyn wyned a charlwm, sef bronwen.

Cyn llymed a lleuen.

Cyn myned o'r defaid allan y mae cau drws y gorlan.

Cyn oered a llyffant. Hefyd, Cyn oered a thrwyn ci.

Cyn saled a chi.

Cyn saffed a mod i.

Cyn sicred a'r pader.

Cyn sionced a'r dryw.

Cyn sobred a hen geffyl ar y gwlaw. Hefyd, Cyn sobred a *Judge*.

Cyn sobred a sant.

Cyn sownded a chloch y Bala.

Cynnyrchir edmygedd yn y meddwl, o'r dyddiau gynt, ond edmygedd wedi ei gyfuno â hygoeledd ydyw. Coleddir y syniad y perthynai i hen Fynachlog Enlli amryw glychau godidog, ond trist yw adrodd, dadfeiliodd yr hen, hen Fynachlog, ac yna cludwyd rhai o'i chlychau soniarus ymaith i Glynnog Fawr yn Arfon a Llanengan yn Lleyn. A than gyffelyb amgylchiad, dodwyd cloch mewn cwch gyda'r bwriad iddi gyrhaedd mewn diogelwch i'r Bala ; ond mewn canlyniad i godiad disymmwtb tymhestl, bu raid bwrw y gyfryw gloch o'r cwch i "Sound Enlli." Ac yn ol y traddodiad, dyna lle mae Cloch y Bala yn sicr ddiogel.

Cyn styffied a procer.

Cyn sured a chwsberis y clochydd.

Cyn sured a'r ficws.

*Micws* yw *ewyn ;* hefyd *brigyn* neu *ysbrigyn*, cyfystyr â *froth* a *spray* y Saesneg.

Cyn syched a gleuaden.

Cyn syched ag ysglodyn mewn potes.

Cyn sythed a'r gawnen. Hefyd, Cyn feined a'r gawnen.

Cyn sythed a *soldier.*

Cynta 'i afael cynta 'i godwm.

Cynta' i'r felin gaiff falu.

Cynt na chynta' galloch.

Cynt y cwrdd dau ddyn na dau fynydd.

Y meddwl yw fod dyn yn greadur dibynol a chymdeithasol ; ond am fynyddau, y maent yn fodau ansymudol. Gall amgylchiadau ddyfod a dynion i gyfeillachu ; ond ni ddaw mynyddau byth yn fodau moesol, am mai daear farw ydynt.

Cynt y cwrdd dau ddyn na dwy làn.

Cynt y cynhesa gwaed na dw'r.

Mae gwaed yn dyst cywir iawn mewn bywydeg.

Cynt y gwnaed llaw na llwy.

Cyn unioned a haul drwy dwll.

Cyn unioned a saeth.

Cyn waned a chath.

Cyn wastated a'r geiniog.

Gwastadrwydd *gwerth* a olygir, ac nid gwastadrwydd *bathiad.* Yr un yn wastad yw *gwerth* ceiniog.

Cyn wired a'r efengyl.

Cyn wired a'r pader.

Cyn wirioned a'i gysgod.

Ystyr *gwirioned* yma yw *diafael* neu *ddisylwedd,* a'r neb a ymdrecho gael gafael arno a fyddai mor *ddiafael* neu mor wirion a'r cysgod yr ymgeisiai afaelyd ynddo.

Cyn wirioned a llo gwlyb.

Cyn wirioned a'r dorth a drodd ei hun.

Cyn wlyped a'r pysgodyn.

Cyn wyllted a bwch ar daranau.

Cyn wyllted a chath yn bwyta tân.

Tarddodd y dywediad yna oddiwrth yr hen ddyreidi o ddàl cathod—gwasgu eu cynffonau â gefail bedoli, yna dàl ger eu gwynebau bric â thân ar un pen iddo, yr hwn a gnoent yn eu cynddaredd gyda'r cyflymdra mwyaf.

Cyn wyned a'r galchen.

Cyn ysgafned a phluen.

Cyrchu dw'r dros afon.

Yr un ystyr y sydd i "Cyrchu dw'r dros afon" ag sydd i "Bargen ddrud yw cyrchu o bell," ond ei bod mewn ffurf arall, sef myned *dros afon* i gyrchu *dw'r,* tra *dw'r* yn yr *afon.*

Cysgod cawnen.

Cysgod llwdn yw ei fol.

Cysgu fel ci bwtsiar.

Cysgu a'i lygaid yn agored, a phryd arall yn nghauad; neu, efallai, ag un llygad yn agored, cysgu ar ei wyliadwriaeth.

Cysgu fel mochyn. Hefyd, Cysgu fel pathew.

Cysgu fel top.

Tybia rhai i'r gair *top* ddeilliaw o *topo,* gair am lygoden yn yr iaith Eidalaidd. Y mae gan yr Eidalwyr ddiareb yn dyweyd "Ei Dorme come un topo." "Mae e'n cysgu fel llygoden."

Cysgu llwynog.

Ar ei wyliadwriaeth.

Cystal a Llundain ond ei fod yn llai.

Cyw drwg ddaw o wy drwg.

## CH.

Chwaer ydyw mam i modryb.

Chwareu bili-ffŵl.

Chwareu ffon-ddwybig.

Y ffon-ddwybig gynt ydoedd waewffon a phig dur yn mhob pen iddi—iawn arferiad o'r hon ydoedd orchest o'r mwyaf, gan ei fod yn cynnwys gwneuthur ffug ymosodiad gwirioneddol â'r pen arall. Eithr yn llên y werin golyga egwyddorion dryg-ionus yn cael eu hymarfer yn rhith daioni.

Chwareu mig.

Chwareu mwgwd yr ieir.

Sef rhoddi cadach am y llygaid ar *un* o'r chwareuwyr, yr hyn a olyga fod y sawl y b'o y mwgwd arno mor *hurt* ag ydyw ieir o hurt yn y *nos*.

Chwareu plant. Hefyd, Chwareu plant yn y pistyll.

Crybwyllion a gymhwysir yn dra mynych at a fyddont yn ym-wneyd â gorchwylion afreidiol, di-fudd, ac hyd y nod dibwrpas.

Chwareu'r gath yn yr haul.

Chwareu tŷ bach.

Chwerthin am ben ei geiniogwerth.

Am ben ei 'stori ei hun.

Chwerthin yn ei lawes.

Yr ystyr yw *cudd-wenu goganus.*

Chwilio am fy ngheffyl ag yntau danaf.

Chwipio'r gath.

Ymadrodd a arferid gan deilwriaid, am grwydro o dŷ i dŷ i weithio, yn ol yr hen drefn.

Chwith i'n ci ni ei grogi.

Chytuna nhw ddim mwy na chwn â moch.

## D.

Da am gynneu tân, da am gynnal tŷ.

Da y b'och, a di bechod.

Da y b'och meistr, rhag eich ofn.

Da cael tŷ a'i ben ynddo.

Da cael us gan ddrwg dalwr.

Da dant i attal tafod.

Daeth y gath o'r cwd.

Daeth allan y gyfrinach.

Da gŵyr y Brenin Mawr i bwy i roi ychydig.

Dangos di ddyn celwyddog, dangosaf finau leidr.

Dangos yr ewin fforchog.

Dangos y tu 'menyn i'r frechdan.

Dal diwrnod gerfydd ei gynffon.

Yn briodol, ni fedd diwrnod *gynffon* o gwbl. Yr ystyr yw treulio y rhan fwyaf o'r diwrnod yn segur, a gwaith y diwrnod yn rhwym o'i wneyd y diwrnod hwnw, yna yn gorfod gwneyd ei oll yn y *gweddill* o'r diwrnod. Y *gweddill* o'r diwrnod a olygir wrth ei *gynffon*. Dyna'r addysg.

Dal dy dafod.

Dal llygoden a'i bwyta.

Darluniad sefyllfa o gryn dlodi.

Dal pen rheswm.

Dall bost.

Dan balf y gath.

Danfon heibio'r ceiliogwydd.

Mae'r hen ddywediad yma yn cadw ei le yn nghof ac ystyriaeth gwragedd ffermydd er's na ŵyr neb pa mor foreu mewn hanes. Ar ol cyd-ymweliadau prydnawnol am awr neu ddwy uwch ben y bwrdd tê, cychwynid o wirfodd calon, yn ol yr hen ddefod sydd yn ffynu hyd heddyw, i ddanfon yr ymwelyddion, o gam i gam, heibio'r ceiliogwydd, gan daflu clogyn dros enbydrwydd y cyfryw, weithiau, pryd na byddai ceiliogwydd

yn perthyn i'r lle: eithr fel esgusawd dros anwybyddu eu hawyddfryd hwy i ymgomio ychwaneg am y naill beth a'r llall—eu trin a'u troi yn mhob dull a modd—pob un o honynt yn llygad ac yn glust i gyd.

Dan y gyrdd.

Darfod fel diffodd canwyll. Hefyd, Darfod fel mwg.

Darllen fel Person.

Darparu yr haf erbyn y gauaf.

Dau ddrwg-dalu, talu yn mlaen a pheidio talu byth.

Dau gywilydd gwraig.

Ymenyn hen a chig moch—am eu bod yn dra darfodedig

Daw gwlaw ac a'i gwlych, daw haul ac a'i sych.

Sen-gysur i'r budr.

Daw haul ar fryn eto.

Y syniad dealladwy a rydd y dywediad hwn er nad yn *grybwyll-edig*, yw bod yr haul ar y pryd o'r *golwg* naill ai *dan gwmmwl*, neu ynte *gan ystorm*, ond nad yw i fod felly yn barhaus. Yr addysg a geir yn llawn yn y pennill a ganlyn :—

"Os yw'm gofidiau yn y byd
I bara hyd y diwedd,
O fewn i'r nef fe dderfydd hyn—
Troir *tristwch* yn *orfoledd*."

Daw pob diwrnod a'i waith gydag ef.

Da y cyffelyba'r byddar os clyw e' beth.

Da yw Duw a hir yw byth.

Da'r maen gyda'r efengyl.

Dechreu brân yw 'deryn du a dechreu mul yw 'sgyf-arnog.

Deg i un, &c.

Sicrwydd ymddangosiadol, neu ddilysrwydd tebygol, a feddylir mewn dywediadau o'r fath. "*Ten to one*," "*five to one*," a "*three to one*," &c., yw y geiriau a arferir ar ryw *champion* yn rhedegfeydd ceffylau, yn ol graddau yr hyder ar y cyfryw. Yr ystyr yna sydd i *deg i un*, sef dim *amheuaeth*.

'Delo i byth i Nefyn.

Amser y ferf *elo* yn yr ail berson a ofyn y negydd *nad*, ond y ferf *â* yn yr ail berson a ofyn y negydd *nid;* megis, Byth *nad* elo—Byth *nid* â. Talfyriad o *nad*, gan hyny, yw *d* yn "'Delo i byth i Nefyn."

Deuair yw un gair i gall.

Deuparth gwaith yw ei ddechreu.

Deupen y llinyn yn nghyd.

Dewis dy wraig ddydd Sadwrn—nid ddydd Sul.

Dial ydyw'r unig ddyled na ddylid ei thalu.

Diangc â chroen ei ddannedd!

Biblaidd—" A chroen fy nannedd y diengais " (Job xix. 20).

Diangc ar Gonwy a boddi ar Glwyd.

Yr ystyr, yn debygol, yw diangc gyda *chymhorth*, a boddi *heb* gymhorth.

Diangc rhag y mwg a syrthio i'r tân.

Diawl a'i collo.

Diboen i ddyn dybio'n dda.

Diddrwg-didda.

Difa'r cnwd.

Digon hawdd siarad, gwneyd ydyw'r gamp.

Digon i'r diwrnod ei ddrwg ei hun.—Biblaidd.

Digon o dân i losgi Llundain.

Digon o dân i rostio eidion.

Digon sy ddigon, gormod sy flin.

Digrif gan bob aderyn ei lais ei hun.

Dig'wilydd fel post llidiart.

Dillyn ieuangc, carpiog hen.

Dimai goch y delyn.

Dim cymmaint o newydd a marw gwrach.

Dim cysgod brwynen.

Dim mewn brys ond dal chwain.

Dim mwy lles na glaswellt i gi.

Dim mwy na phiso dryw yn y môr.

Dim ond cadw'r bodiau.

Dim poen, dim elw.

Dioddef fel llofrudd neu leidr.

Dioddef gecryn yn ddiolchgar nes y tery wrth ei gymhar.

Diog fel pathew.

Diofal a gân yn ei wely.

Diofal cwsg potes maip.

Dywediad yn dynodi cydwybod dawel a hûn felys y tlawd gofalus a chynnil fo'n talu yn onest am ei eiddo. Ar lafar gwlad ceir y syniad mewn ffurf arall llawn mor gartrefol yn y dywediad, "Asgre lân diogel ei pherchen."

Diofal pob di-ofyn.

Diofal yw dim.

Disgyn fel barcud ar gyw.

Disgyn fel huddugl i botes.

Profedigaeth annisgwyliadwy.

Distadl a gwael pob hawdd ei gael.

Diwedd hen cadw defaid.

Diwedd lleidr cael gwarth.

Diwedd y gân yw y geiniog.

Dod dy synwyr ar waith.

Dodi bys yn y bastai.

'Does dim achos cyfri' dannedd ceffyl rhodd.

'Does dim blew ar ei dafod.

Y plaen, gwyneb-agored.

'Does synwyr y falwen ynddo.

'Does unman fel cartref.

Doetha dyn pan dawo.

Dos i dy grogi.

Dos i hel gwair i dy gŵn, neu, Lle buost ti yn hel gwair i dy gŵn?

Tebygol mai *Dos i newynu dy deulu,* neu *Lle buost ti yn newynu dy deulu?* yw yr ystyr, oblegid fe newyna y ci cyn y bwytâ efe wair.

Dos oddiyna i geibio. Hefyd, Dos oddiyna i gonstro.

Draen yn ei nyth. Hefyd, Draen yn ei ystlys.

Dranoeth wedi dygwyl. Hefyd, Dranoeth wedi term.

Drewi fel buria. Hefyd, Drewi fel ffwlbart.

Dros ei ben a'i glustiau.

Druan bach.

Drud ŷd, rhad eidion.

Y ffaith yw na bu ŷd a chig erioed yn uchel eu pris ar yr un adeg. Os bydd y cig yn *ddrud,* bydd y bara yn *rhad,* neu i'r gwrthwyneb.

Drwg-dybus, drwg-eisoes.

Dau air o ystyron gwahanol, y naill o *dyb ddrwg,* a'r llall yn *barod ddrwg.*

Drwg ei hun dybia arall.

Drwg y ceidw'r diawl ei wâs.

Drwy deg.

Drwy y tew a'r teneu.

Drwy'r tŷ ac allan.

Drwy y drain a'r d'rysni.

Bod yn ddigyfrif o bob rhwystrau wrth erlyn nod-ymgais.

Duw a digon.

Duw a'm helpo.

Duw a phob daioni.

Dweyd y gwir sy dda bob amser, dweyd y gwir sy'n digio llawer.

Dwrdio y bwyd a'i fwyta.

'Dwy'n hidio brwynen yn neb.

Mae llawer o gyfeiriadau yn ein llenyddiaeth at y frwynen, yr hon, erbyn hyn, sydd wedi myned yn ddiwerth iawn yn ein golwg. Yn yr hen amser, telid y rhent â brwyn; felly

cynnyrchid edmygedd ynddynt yn y dyddiau gynt—edmygedd, efallai, wedi ei gyfuno â hygoeledd. Ond pa fodd bynag, buont, drwy drefn rhagluniaeth, yn fendith i lawer o drigolion y Sir hon, a chymmeraf ryddid ar yr achos presennol i egluro hyny drwy sefyll ar ysgwyddau gwr arall. Dyma fel y dywed efe ;—"Gresyn na ellid cael gafael ar Sant Antwn gynt, neu adgyfodi un o'i fath. Daeth yr hen Sant i'r wlad pan oedd dwfn dlodi a phrinder yn ymylu ar newyn. Holodd am fês derw, ac anfonodd ddynion i'r mynydd ger llaw i chwilio am frwyn. Tra yr ystyriai y trigolion newynllyd ei fod yn amhwyllo, gwirfoddolodd ychydig i wneyd ei gais. Dygwyd iddo gawelleidiau o fês a llu o feichiau o frwyn. Galwodd am gorwynt i chwythu y mês i fyny yr entrych. Cwympasant yng ngwahanol rannau y wlad yn dorthau o faintioli torth swllt. Bwriodd y brwyn yn bentwr i afon Gonwy :

'Bwriaist ym mrig y berwr,
Brwyniaid yn obru yn y dwr.'

Bendith fawr i'r trigolion newynog fu hyny. Cawsant eu gwala a'u gweddill hyd nes y daeth adfywiad anianyddol a masnachol. I Sant Antwn yn gyfunwedd â hen draddodiad hygoelus yr ydym i ddiolch am iddo, pan ar ei ymweliad, gyflenwi tair afon yng Nghymru â brwyniaid, ac y mae afon Gonwy yn un o'r rhai hynny."

Dwywaith yn blentyn, unwaith yn ddyn.

Dwy yw'r geiniog a gynnilir.

Dyfod at ei goed.

Ei ystyr sydd yr un â'r dywediad, Dyfod at ei *gacen* a'i *laeth*. Hynny yw, dyfod i'w bwyll, dyfod ato ei hun.

Dycnu (dygnu) fy ngoreu glâs.

Dyled ar bawb nid yw ddyled ar neb.

Dyna Rasmws o ddyn.

Yma, wrth "Rasmws," a defnyddio cyffelybiaeth werinol syml, y golygir dyn cyhyrog, gwrol a chadarn, yn gawr mewn nerth, heb argoel fod troi yn ol i fod arno. Tyb rhai yw, fod y cyfryw eirweddiad desgrifiadol yn awgrymu cyplysiad y dywediad âg enw Erasmus gynt, yr hwn oedd Broffeswr yn Rhydychain yn amser Luther. Os nad yw, ac yr awgrymir fod y cyfryw gyssylltiad yn ymddangos i rai yn fwy cywrain na thebygol, y mae yn ei lawn rwysg hyd heddyw yn ein mysg.

Dyn blin heb ddim blew, dynes flin yn flewog.

Dynion wnant dai, merched wnant gartrefi.

Dyn trwm.

Wrtho yn gyffredin y golygir dyn tra chyflawn o reswm a gwybodaeth.

Dyro fo dan dy droed. Hefyd, Dyro fo dan gareg yr aelwyd.

Dyro dy droed yn dy geg.

Y peth tebycaf i fod yn ystyr yr hen werinair dwl hwn ydyw *cau dy geg;* oblegid pe gallai un roi ei droed yn ei geg, byddai ei geg wedi ei chau gan y troed yn ei llenwi.

Dyro gyllell ar dy geg.

Cyngor i fod yn ddistaw.

Dyrysu ei briciad.

Dysgu nain i odro'r hwyaid.

Dywediad ag sydd yn cael ei gyfleu at yr ieuangc a'i goethder anaddfed.

'Dyw'r call ond call weithiau, y ffol yn ffol o hyd.

Ddaw henaint ddim ei hunan.

Ddaw hi ddim felly.

Ddaw ddoe ddim yn ol.

Ddaw o ddim mwy na'r cythraul at y groes.

Ddim diben rhoi wyau dano yn unlle.

Yr ansefydlog.

Ddim ffit i ddal canwyll.

Ddim gwerth ei godi o'r domen.

Ddim mwy nag sydd dan ewin.

## E.

Eang yw'r byd i bawb.

Edifeirwch tranoeth ar ol term.

Edrych dan dy draed.

Edrych fel brych.

Edrych fel bwgan.

Edrych fel ci euog.

Edrych fel drychiolaeth.

"Edrych fel ysbryd" yw y syniad, sef edrych heb ddim braidd ond *croen* ac *asgwrn*, yn debyg i fel y darlunir drychiolaeth o angau fel *arwyddlun* o angau.

Edrych fel llo gwlyb.

Edrych mor ddiflas a iar ar ystorm.

Edrych mor rislyd a gafr ar daranau.

Edrych y pwll cyn ei neidio.

Ei daflu oddiar ei echel.

Ei gael yn brin.—Biblaidd.

Ei groen ar y pared.

Ei le i bobpeth a phobpeth yn ei le.

Ei le yn well na'i gwmpeini.

Eilfam—modryb dda.

Ei lygad yn fwy na'i fol.

Yr awydd yn fwy na'r angen.

Ei ollwng i mewn drwy un glust ac allan drwy y llall.

Eisiau yr afr a'r arian.

Eistedd ar ei sawdl.

Eli i bob dolur.

Eli i bob drwg yw amynedd.

Eli'r galon.

Yr hyn a ystyrir yn fwyaf cydweddol â thymheredd dyn. Gair aml iawn yn y Bibl yw "calon." Mae yn fwy pwysig na dysg na chred. Meddylia yr efengyl fwy o galon dyn na'i ben.

Elw drwg fe dawdd yn ddi-rad.

Ennill ei grystyn.

Ennill mo'i halen.

Mae i'r gair *halen* amryw ystyriaethau.—(1) Arferir ef am un fyddo yn rhoi llafur caled, gonest, mewn unrhyw ddiwyd-waith, ac yn cael onid ad-daledigaeth annghyfartal ac annheg.

Yn yr hen amserau prin a'r tollau trymion telid pris uchel am halen, eithr nid rhaid ond wrth ddogn o hono, ac nid ydyw ond un o lawer o reidiau eraill bywyd dyn. Golyga "Ennill mo'i halen" galedi nid bychan i'r gweithiwr teilwng—dyna "fargen galed" y cloddiwr, a chyffelyb yn nghylchoedd eraill llafur. (2) *Yn ddim gwerth ei halen.* Cymmeriad annheilwng y dyn ei hun, ac nid "gwaith di-elw" olygir yma. Sèn y diog a'r difedr yn mhob galwedigaeth y byddo—"Ddim yn werth ei halen"—hyd y nod. (3) "Mor bresiws (*precious*) a llong halen." Yn amser y diffyn-dollau gynt, ceid y byddai y mân longau yn llech-gludo (*smuggling*) halen i'r arfordiroedd hyny—cam neu gymhwys—gwerthfawrogid y llong halen yn fawr gan y brodorion. Arferid, gan amlaf, fel sèn i'r sawl fyddai yn ofer-brisio ei hun a'i safle yn mywyd gwlad—"Mae yn tybio ei fod mor bresiws a llong halen, druan o hono." (4) *Halen ar friw.* "Rhoi halen ar friw" ddywedid am boenydio un drwy ddyweyd, neu goffau iddo y peth nas mynai,—am droion trwstan, neu unrhyw gas-wir na charo eu clywed am dano ei hun neu garenydd. (5) *Rhoi halen ar ei groen.* Gorchwyliaeth geryddol, neu ddisgyblaeth lem am drosedd a chamymddygiad personol—gweinyddir ar lên neu er lafar, fel bo'r achos yn galw. (6) *Halen yn ei uwd.* Hen air y famaeth i leddfu profedigaeth y plentyn fyddo'n achwyn ei gam—fychan neu fawr. "Ha," meddai'r fam, wrth fygwth cosbi y troseddwr "hitia mono fo mach i, mi rown i halen yn ei uwd o am hyn;" ac os byddai yn brofedigaeth lem iawn fe ychwanegid—"A dw'r yn ei fwyd o hefyd;" a dyna'r 'storm yn dawel ar unwaith. (7) *Bysiad o halen.* Gwrth-air y chwedl anghygoel, pynag ai drwg ai da fyddo o natur, tra yn ddisail ac annghredadwy, dyna ddywedir i'w gwrthod gan a'i clywo—a llawer 'stori anhawdd ei llyngcu a roddwyd i'w chadw byth, am y dywedwyd wrth y brygowthwr—"Mae'n rhaid cael bysiad o halen efo hona, was."

Ennill nodwydd ddur a cholli trosol haiarn.

Enllyn bara da yw eisiau bwyd.

Y meddwl yn debygol, yw, Enllyn bara, da yw angen neu eisieu bwyd. Y mae hyd y nod *crystyn* bara yn *enllyn* pan mewn eisieu bwyd, heb ddim ymenyn arno.

Enllyn trwyn.—*Snuff.*

Estyn dy bump. Hefyd, Tafl dy bump.

Ysgwyd llaw.

Estyn y goes.

Dullymadrodd dirmygol am farwolaeth.

Ewa bach.

Parch-gyfarchiad yr henafgwr. *Ewa* yw *Ewythr*.

## F.

Fe chwery bol a bwyd.

Fe ddaw eto haul ar fryn, nid ydyw hyn ond cawod.

Fe ddaw rhywbeth ar ol pobpeth.

Diddanair a arferir yn ngwyneb anffodion bywyd.

Fe ddaw'r ferch i fagu'r fam.

Fe ddeil pren ar ei ben y byd.

Fe gaiff y ci a gerddo rywbeth.

Fe gâr yr afr ei mŷn, boed e' ddu, boed e' wŷn.

Fe gana'r gog arno eto.

Fe greda rhywun bob 'stori.

Gochelair a arferir rhag gwneyd o neb yn rhy hyf ar gymmeriad arall.

Fe gwsg y galarus, ond ni chwsg y gofidus ddim.

Fel baedd cynddeiriog.

Fel bo dyn y bydd ei lwdn. Fel y dyn y bydd ei ddâ. Fel y dyn y bydd ei faes.

Yr un ystyr y sydd i'r oll o'r gwahanol ddulliau yna. Yr addysg yw, os annrhefnus fydd y dyn o hono ei hun, felly y bydd ei *lwdn*, ei *ddâ*, a'i *faes*; neu ynte i'r gwrthwyneb

Fel b'o'r garddwr, felly yr ardd.

Fel brithyll.

Dywediad am wr ieuangc hoew.

Fel brân watchio.

Fel cacynen mewn bys coch.

Y drwg ei swn.

Fel cadach llestri.

Er i'r cadach fod yn wlyb yn eich llaw, dim ond gwasgu tipyn arno fe fydd yn sych mewn munyd,—felly y tebygir dyn cyfnewidiol iddo.

Fel *cammomile* yn Maes Criccieth.

Yn doreithiog.

Fel cath mewn cwd.

Fel caseg y ddryghin.

Fel caws llyffant.

Brau a darfodedig.

Fel ceiliog ar ei domen ei hun.

Fel ceiliog gwynt.

Fel ceffyl melin.

Y digywilydd.

Fel ci am asgwrn.

Fel ci bach, yn agor ei geg cyn agor ei lygaid.

Fel ci cynddeiriog.

Fel ci'n dàl gwybed.

Fel ci'n pori glaswellt.

Dywedir mai o flaen gwlaw y pora ci laswellt, ac yr achosir hyny yn herwydd "dolur ei fol."

Fel clem y Tylwyth Teg.

Tua maint ewin bys plentyn.

Fel corff y farwolaeth.

*Drychiolaeth boenus* neu *farwol.* Ceir y syniad yna gan Paul yn Rhuf. vii. 24, pan y dywed, "Ys truan o ddyn wyf fi! Pwy a'm gwared oddiwrth gorff y farwolaeth hon!"

Fel crai y nodwydd.

Yn amryw fanau o'n gwlad, priodolir y geiriau *crai y nodwydd* i fylchau culion, ffyrdd cyfyng, neu bethau ereill.

Fel crochan berwedig.

Fel crochan Caffo, 'does dim llenwi arno.

Fel cyfri' llyfrithen.

Fel cyllell drwy fenyn.

Fel cysgod barcutan.

Fel chwain traeth.

Fel dau eurach.

Fel defni parhaus.

Fel deufor-gyfarfod.

Fel diawl dan gareg.

Fel draenog.

Fel drych.

Fel dw'r ar gefn ceiliogwydd. Hefyd, Fel dw'r ar gefn hwyaden.

Fel dwy ddimai am geiniog.
**Cydwerth—gwastad.**

Fel ebol blwydd.

Fel ehediad brân.—Union.

Fel ergyd o ŵn.

Fel ffidler Nefyn yn canu gyda'i law.

Fel gwenol gwehydd.—Biblaidd.

Fel gwybedyn ar d—n tarw.

Fel gwybr gwenyn.

Fel hen greisiwr penwaig.

Fel heppil Howell Harries.
**Yn ormesol ac yspeilgar.**

Fel hopran melin.
**Yn orwangcus.**

Fel hudo ci âg asgwrn.

Fel hwch mewn haidd.
***Llechwra* yw y syniad o "Hwch mewn haidd." Fel y mae hono yn *llercian* yn yr ŷd, er clywed yr annos, eto ni syfl o'i lle nes y gorfodir hi i fyned. Felly llawer dyn a dynes yn eu cylch hwythau. Dyna yw y gymhariaeth yma.**

Fel iâr am ei chywion.

Fel iâr ar y gwlaw.

Fel iâr dan badell.

Fel iâr yn cerdded marwor.

Symudiad yr afrosgo.

Fel Job ar y domen.

Fel llwdwn y bendro.

Yn troi o hyd yn ei unfan.

Fel llygoden dan balf y gath.

Fel mae gwaethaf y modd.

Fel malwen mewn tàr.

Fel milgi mewn gogor.

Fel mochyn un-glust.

Dynoda beth drwg ei olwg o ddiffyg cymesuredd.

Fel oen lloweth.

Un a fegir â'r llaw—llawfaeth.

Fel pendil cloc.

Fel penwaig mewn halen.

Fel peth yn mynu bod.

Fel pin mewn papyr.

Y trefnus.

Fel Porth Neugwl.

Fel rhygan y rhyg—

Yn ol llafar gwŷr Arfon; Rhegen yn Rhych, yn Mhowys; Rhegen yr ŷd, mewn rhai manau,—yr aderyn sydd yn grillian yn ddidaw trwy gydol y nos—y sofliar. "Ni thaw mwy na rhegen yn y rhych."—*Diareb.*

Fel saeth-waew.

Fel salimander.

Fel 'sgutor 'sgolffion.

Darluniad o gymmeriad fyddo yn awyddus am brynu peth o dan ei lawn werth.

Fel 'stalwyn rhent.

Fel sucan un-nos.

Fel taclau gwraig weddw.

Fel tân at y carth.

Fel taro pêl yn erbyn pared.

Fel taro'r fwyell yn y pren.

Fel tarw hwyliog.

Fel tatws wedi rhewi, yn ormod cyn bod yn ddigon.

Fel tynu wy poeth o dân.

Fel un o'r saith gysgadur.

Fel us o flaen gwynt.

Fel wain am dwca.

Fel wy ar ben trosol.

Fel b'o dy dir y bydd dy gwys.

Fel b'o dyn y bydd ei lwdn.

Fel y fam, felly y ferch; meddwl am hyn cyn rhoi dy serch.

Fel y gath yn cymmeryd ei chodwm ar ei thraed bob amser.

**Dynodiad o ddyn fyddo yn fwy nodedig am gyfrwysdra dichellgar i ymgadw rhag niweidiau drwg-drafodaethau nag am onestrwydd i ymgadw rhag bod yn euog o'r cyfryw.**

Fel yr â i'r môr bob afon yr â i'r nef bob gwirion.

Fel yr hwch y bydd y porchell.

Fel ysgyfarnog yn methu byw o swn y cwn.

**Y sawl fyddo yn methu ymadael â hen demtasiynau.**

Fel y wiwer.

**Yn hoew.**

Fe rana ganwyll ei lygad.

**Y caredig.**

Fe wel y diog le i eistedd yn mhobman.

**Moes-esgusawd am eistedd heb ganiatad.**

Fe ylch dwfr tra cerddo.

Fu ddrwg erioed na fyddai dda i rywun.

Fu erioed dda o hir chwareu.

**Am y try ysmaldod yn gweryl fynychaf.**

# FF.

Ffair ben-ben.

Ffair dan gap.

Ffals ydyw'r gwaed.

Ffitio fel maneg.

Ffoi rhag yr hwrdd i gorlan y defaid.

Ffolach na dail bysedd cochion.

Cymhwysedig at yr ynfyd.

Ffol pob tlawd.

Yn fynych dirmygir doethineb y tlawd.

Ffon ei fara. Hefyd, Colli ffon ei fara.

Yma, golygir mai *iechyd* yw y *ffon*, a'i *lafur* ydyw y *bara;* felly colli *iechyd* yw colli *llafur* er ei gynnaliaeth.

Ffordd Llanfaglan ydd air i'r nef.

Llanfaglan sydd Eglwys gyfagos i Gaernarfon. Tebygol i'r hen air yna gael ei hanfod pan oedd Pabyddiaeth mewn bri yn y Dywysogaeth.

Ffwl pen ffair.

Ffynnon ddiogi.

# G.

Gad yfory tan yfory.

Gair dros ysgwydd.

Gair yn ei amser.

Gan y gwirion ceir y gwir.

Gartref y mae adnabod gwr.

Gelyn gwaethaf dyn fydd ei gyfaill.

Yr hyn a brofir yn wir yn mhob oes o'r byd; oblegid pan elo *cyfaill* yn *elyn*, bydd yn fwy *angerddol* nag eiddo gelyn *cyffredin*, fel yn hen gyfeillion Job tuag ato ef.

Gloddesta awr a newynu blwyddyn.

Gochel y cam cyntaf wneuthur drwg.

Cyngor da, ac yn deilwng o ystyriaeth pawb; canys anhawdd iawn yw dadgamu yn ol, ar ol unwaith ddechreu tramwyo ar hyd llwybrau drygionus.

Goddef a gochel.

Gofala pob ci am ei gynffon.

Gofaler am y ddimai, gofala y bunt am dani ei hun.

Gofyn i mam ydyw nhad yn lleidr.

Goganu'r bwyd a'i fwyta.

Gollwng y ffrwyn ar ei wàr.

Gonest pob lleidr hyd nes ei delir.

Goreu bach, bach gwair. Hefyd, Cryfa bach, bach gwair.

Goreu buchedd, buchedd bur.

Goreu cam, y cam cyntaf.

Goreu canwyll pwyll i ddyn.

Cynnrychioli *goleuni* y mae y gair *canwyll* a'r gair *pwyll*, ond fod *pwyll* yn golygu *goleuni gwybodaeth*. Yr ystyr yw, y *goleuni* goreu yw *goleuni gwybodaeth* i ddyn.

Goreu crab, crab mochyn; nid goreu mochyn, mochyn crab.

Goreu chwedl gwirionedd.

Goreu defod daioni.

Goreu gair, gair o wir.

Goreu gŵyr yr hên.

Goreu i'r gwàn, tewi.

Goreu maban, maban pob mam.

Goreu meddyg, gofal.

Gwell yw rhagofal na chant o feddygon.

Goreu meddyg, meddyg enaid.

Goreu po oreu fyddo pawb.

Lles un yn lles y cyffredin.

Goreu physig ymborth da.

Goreu tafod, tafod tewi.

Eto, ymddengys nad hawdd ei gael i ymarferiad cyffredinol.

Gorfod gwneyd gwas o honof fy hun, a morwyn o mhenelin.

Dyn gartref ei hun.

Gormod o bwdin daga gi.

Gormod o ddim nid yw dda.

Gormod o heirn yn y tân.

Gormod yw tad prinder.

Gorphwys ar ei rwyfau.

Mynychair gan y Saeson hefyd—"Tynu yn y rhwyfau"—a gorphwys arnynt genym ninau. Pallu mewn dyfalbarhad—cymmeryd saib ar ganol yr ymdrechfa—yn y syniad ddarfod gwneyd yn dda hyd hyny—ymddiofalu nes colli'r gamp felly.

Gosod hoelen arall yn ei arch.

Gras Duw arnoch. Hefyd, Bendith Duw arnoch.

Y mae'r dywediadau yna yn dra hên. "Uchelradd" neu "uchelder," neu "gras" y gelwid breninoedd cyn y flwyddyn 1519, pryd y cyfrifwyd iddynt y gair "Mawrhydi."

Gwa'dd ci i'w grogi yw peth felly.

Gwaed llosgwrn y gath.

Gwaeddi fel mul.

Gwae gaffo anair yn ifangc.

Gwael yw ci na thâl chwibanu arno.

Gwaethaf meistr, meistr gwas. Hefyd, Gwaethaf meistres, meistres morwyn.

Gwaetha' i ddyn ei ddyn ei hun.

Gwaew yn mhen bys aiff ar frys i'r fron.

Gwae y neb glywo geiliog ei feistr tir yn canu.

Gwae yr hwn y dywed pawb yn dda am dano.—Biblaidd.

Gwagle mewn byd ac eglwys.

Gwaith gan yr ieuangc, cyngor gan yr hên.

Gwaith pawb, gwaith neb.

Gwanach na gwawn.

Gwan iawn.

Gwan hen a gwan ifangc.

Gwanu fel milgi.

Gwarchae ar le go lwm.

Gwarchod fy nghalon i! Hefyd, Gwarchod pawb!

Gwared y gwirion!

Gwario'r swllt er ennill ceiniog.

Gwas da gaiff ei le.

Gwas da ond meistr caled.

Tân.

Gwasgu'r fèg.

Gwasgu'r glust a thewi son.

"*Gwasgu*'r glust" yw *cau* ar a glywodd, a "*thewi* son" ydyw *peidio adrodd* yr hyn a glywodd y glust.

Gwas i was chwibanwr.

Un a chwibanai gyda'r ychen, medd rhai. Ond, oni cheid y chwibanwr a'i chibanogl a'i bib yn lled bwysig yn y tafarndai—y gerddorfa, helwriaeth, milwriaeth, &c.? Hefyd, ai tybed y dynodid un felly wrth ei swydd, â chel-was i grach swyddog hwn—odid at bob iselwaith? Synwn i ronyn ped aml gyferchid ef am ei fudrwaith—Wyddost ti beth mae dy swydd di yn sâl iawn efo negesau gwrach i ddysgu dy well fel yna.—Sen-edliwiad dirmygol.

Gwas i was y baw.

Chwibanwr.

Gwas i was neidr.

Ednogyn adwaenir felly, ac a gaseir o'r herwydd—tybir fod ei feistres wenwynig yn wastad gerllaw, ac fod cyfathrach hud rhyngddynt ag is-ednogion, fel y dylid ymochel yn yr holl amgylchoedd hyny. Dyna chwedl hogiau'r pentre—Rhybuddwaedd felly arferid.

Gwastad mewn brys, gwastad ar ol.

Gwedi neidio rhy hwyr peidio.

Gweddw crefft heb ei dawn.

Y mae y grefft o wneyd pren ddysglau (*trenchers*) a phicynau erbyn hyn yn *weddw*, am nad oes iddynt yr un *crefftwr*; felly "heb ei dawn," yn ol y ddiareb.

Gweithio fel Negro. Hefyd, Du fel Negro.

Gweithred a ddengys.

Gwêl, a chêl, a chlyw, ti gei lonydd yn dy fyw.

Gweled bai lle na b'o.

Gwel'd mo'r coed gan brenau.

Gwel'd y gwreinyn yn y gwrych.

Gweled fel cath.

Gwely llaith bair gystudd maith.

Gwell a blygo nag a doro.

Gwell a erlidier nag a erlidio.

Gwell angau na chywilydd.

Gwell baw o bell na mêl o agos.

Gwell bendith y tlawd na meistrolaeth y cadarn.

Gwell bod yn dipyn o gnaf nag yn ormod o ffwl.

Gwell bod yn segur na gwneyd drwg.

Gwell bod yn wrthddrych cenfigen na thosturi.

Gwell byw na marw.

Gwell cam bach na'i wrthod.

Gwell canmol na chrafu.

Gwell clod na golud.

Gwell clwt na thwll.

Gwell crefft na golud.

Gwell cymmydog agos na brawd yn mhell.

Gwell cyngor hên na'i faeddu.

Gwell dau nag un.

Gwell Duw yn gâr na llu daear.

Gwell enw da na chyfoeth lawer.—Biblaidd.

Gwell goddef cam na'i wneuthur.

Gwell goddef na drwg ddywedyd.

Gwell gofyn yn fynych na cholli y ffordd.

Gwell gwegil câr na gwyneb estron.

Cynnrychiola *gwegil* câr ei *absenoldeb*, a *gwyneb* estron a olyga ei *bresennoldeb*. Y meddwl gan hyny yw hyn :—Gwell *absenoldeb* câr nâ *phresennoldeb* estron.

Gwell gweled merch na'i chlywed.

Gwell gwir na chelwydd.

Gwell hwyr na hwyrach. Hefyd, Gwell hwyr na byth.

Gwell iechyd na chyfoeth.

Gwell migwrn o fab na mynydd o ferch.

Gwell plygu am bin na phlygu am ddim.

Gwell pryd o eisin na phryd o eisiau.

Gwell prynu na benthyca.

Gwell pwyll nag aur.

Gwell un pwyth mewn pryd na dau yn rhy ddiweddar.

Gwell rhoddi na derbyn.

Gwell siampl na gorchymyn.

Gwell tân bach fo'n twymo na thân mawr fo'n llosgi.

Gwell tewi na drwg-ddywedyd.

Gwell tynu llaw hyd ben ci brathog.

Mae y dywediad yna yn gyfryw ag y gellir ei gymmeryd i fewn fel deongliad rhan helaeth o gam droion gyrfa y byd o'i gychwyn hyd yn bresennol—yn golygu mai gwell i'r *gwàn* blygu i'r *cryf*, yn hytrach nag ymgyndynu, er osgoi trallod a helbul mewn gwedd orthrymus diwybod pa fodd—mai ofn ac elw oedd wrth wraidd moesgarwch yr oesau, ac fod tynu llaw o dde hyd flew y ci all frathu yn hen arferiad.

Gwell un aderyn mewn llaw na dau mewn llwyn.

Gwell un heddyw na dau yfory.

Gwell un hwda na dau addaw.

Gwell wy heddyw na iâr yfory.

Gwell y drwg a wyddir na'r drwg nas gwyddir.

**Gwell ymgroesi.**

Tebygol mai oddiwrth y ddefod Babaidd o ymgroesi y daeth y gair cyffredin hwn am ochelyd, neu fod yn ofalus—"Gwell ymgroesi," neu gymmeryd gofal.

**Gwên fenthyg.**

*Gweniaith*, am mai *gwên fenthyg* yw pob gweniaith. Pan yr eir o olwg ei *wên*, bydd y wên hono arno gwedi diangc ymaith.

**Gwenynen farw ni chasgl fêl.**

**Gwerthu lledr.**

Gwenieithio.

**Gwerthu mêl i berchen gwenyn.**

Yr un ystyr ag sydd i'r foeswers, "Iro hwch dew â bloneg." Yr ystyr yn y naill yw, gwerthu mêl i un *diangen* mêl; ac i'r llall yw, iro *bloneg oddiallan* ar un yn llawn bloneg *oddifewn*.

**Gweryru fel gafr y gors.**

**Gwichian fel porchell mewn llidiart.**

**Gwirionach na'i gysgod.**

**Gwirion hen a gwirion ifangc.**

**Gwir o ben pawb.**

**Gwisgo dyw-sul beunydd.**

Yr un dillad, heb ddim i'w newid.

**Gwlawio hen wragedd a ffŷn.**

Ar dudalen 81 ceir yr un frawddeg, gydag un gair o wahaniaeth —*bwrw* am *gwlawio*. Anhawdd dangos fod ystyr o fath yn y byd i'r fath frawddeg; ond, fynychaf, yr oedd gan yr hen bobl eu syniadau rhyfedd, mor ryfedd, efallai, a chyffelybu rhuthr swta o fras-wlaw cynhyrfus i waith hen wragedd araf eu cam, bŷr eu rheswm, a drwg eu tymher, yn cystwyo plant â'u ffŷn, o herwydd i'r plant, efallai, o wamalrwydd ac o ymyraeth chware, ymgiprys a dadwrdd yn lled afreolus mewn agosrwydd poenus iddynt hwy. Yr oedd yn arferiad gan ffermwyr calon-galed hanner canrif, mwy a llai yn ol, orfodi eu gweision i fyn'd allan i weithio ar bob tywydd—myn'd ar hinddrwg, fel ar hindda; myn'd pe'n "bwrw gwlaw fel o grwc"; myn'd pe'n "bwrw ogau a'u dannedd i fyny, a'r moch i'w tynu"; myn'd "er gwaetha' pobpeth," yn ol arfer go gyffredin gynt, os nad eto i raddau rhy helaeth.

Gwna dda, ni waeth i bwy.

Gwneler a fo'n iawn deued a ddêl.

Gwneyd arian dan ganu.

Gwneyd cig o'r naill a photes o'r llall.

Gwneyd drwg rhwng cardotyn a'i gŵd.

Gwneyd ei oreu glas.

Un yn gwneyd a allo. Hefyd, "Y mae o'i go las"—dyn mewn tymher ddrwg.

Gwneyd melin ac eglwys.

Yr ystyr yw bod dyn yn gwneyd cymmaint ag a all o'i gyfleusdra.

Gwneyd môr a mynydd o bob peth.

Gwneyd y goreu o'r gwaethaf.

Gwrando â'i gêg.

Term deilliedig oddiwrth *arddull gwynebwedd* rhai dynion, pan yn gwrandaw ar rywbeth *hynod*, yn hylldremu ar yr ymadroddion a'u cegau yn agored.

Gwr dieithr yw yfory.

Byddai codi profion o'r mynegiad yna yn waith ofer iawn, am fod y dyfodol yn llyfr cauedig i'w agor pan ddaw yr awr. "Digon i'r diwrnod ei ddrwg ei hun."

Gwr o'r byd a phlentyn o'r galon.

Ystyr "Gwr o'r byd" ydyw bod y priod yn *ddiberthynas* cyn bod yn wr, a bod y *plentyn* yn *berthynas* o'r galon, sef yn drwyadl un cnawd a gwaed.

Gwydrwr tywyll oedd dy dad.

Sèn i'r sawl fyddo'n sefyll yn ngoleuni arall.

Gwyl yw hanes.

Peth cyhoedd yw *gwyl*, felly cyhoedd *yw hanes*. Yn ol rhai, nid *yw* ond *i'w*—"Gwyl i'w hanes," y sy gywir, sef yw hyny, *cyhoedder* ei hanes.

Gwynebu'r tywydd.

Gwyneb y flwyddyn.

Dechreuad estyniad y dydd a sirioldeb yr hin.

Gwyneb y frechdan.

Gwŷn ei fyd a f'o diddig.

Gwŷn pob mynydd nes cyrhaedd ei ben.

Hen ddywediad a wireddir bob dydd.

Gwreiddyn pob drwg yw ariangarwch.—Biblaidd.

Gwrtaith da yw gwenwyn.

Gwynt teg o'i ol.

Gwynt traed y meirw.

Gwynt y Dwyrain.

Gwŷn y gwel y frân ei chyw er fod ei liw yn loewddu.

Gwythïen ddrwg.

Gyda'r ci y cerdd ei gynffon.

"Gyda'r ci yr *êl* ei gynffon" sy gywir. Nis gall cynffon *gerdded*. Yr un peth a *llyw* i long yw *cynffon* i gi. Yr addysg felly ydyw, peidio gadael *ysgogydd* penaf dyn ar ei ol, ond ei fynu i'w ganlyn fel y gynffon ar ol y ci.

Gyda rhwytteb.

Gyda'r nos y cyfyd malwod.

Gyru ar y ci a gerddo.

Gyru ei geffyl.

Siarad diamcan—heb gynnwys gormod o wir nag o synwyr.

Gyru'r cwch i'r dw'r.

Gyru'r hwch drwy'r shop.

Methiant masnachol.

Gyru'r hwyad i nol y gwyddau.

Gyru'r maen i'r wâl.

Gyru y drwg yn waeth.

## H.

Hach a binsia.

Ebychair arferedig ar amryw achosion.

Hael Howel ar bwrs y wlad.

Hanner-co gwirion.

Hanner crac.

Hanner dwsin o un—chwech o'r llall.

Hanner gair i gall.

Hanner pàn.

Am ddyn *hannerog* o synwyr. Yr un peth yw *pan* yn Gymraeg a Saesneg. Hanner pan—*half a pan*. *Pan* yw *padell*, *cawg*, *cwpan;* felly *hanner* padell, neu *hanner* cawg neu *hanner* cwpan, ni ddaliant ddim, ac o ganlyniad heb fod o werth dim at unrhyw wasanaeth.

Hawdd clwyfo claf.

Hawdd cymmod lle b'o cariad.

Hawdd cynneu tân ar hen aelwyd.

Hawdd ei gael, hawdd ei wario.

Hawdd i'r claf yw boddio'i ddolur.

Hawdd peri i foneddig sori.

Hawdd ydyw cadw castell di-daro.

Hawdd yw digio dig.

Hawdd yw dweyd, anhawdd yw gwneyd.

Hawdd yw ofni ofnog.

Hawdd yw tynu cleddyf b**ŷ**r o wain.

Hawdd yw tynu gwaed o grach, a hawdd gan gleiriach ddigio.

Haws barnu na saethu.

Y mae'r ddiareb hon yn seiliedig ar gampau yr hen Gymry. Yn ol "pedair gwrol-gamp o rym arfau," yr oedd y gamp o saethu yn anhawdd iawn. Nid saethu â bwa yn unig, ond taflu'r waewffon a'r bicell yn ogystal.

Haws cadw nag olrhain.

Haws dringo na disgyn.

Haws dweyd mynydd na myned drosto.

Haws dweyd na gwneyd.

Haws gochel nag adfer.

Haws gweled bai na'i wella.

Haws llenwi bol na llygad.

Heb ddim dan ei ddwylaw.

Heb ddim dan ei ewin.

Heb Dduw heb ddim.

Heb ddweyd na bw na be.

Mudandod hollol.

Heb fod yn llawn llathen.

Heb iechyd baich yw bywyd.

Heb gragen i ymgrafu.—Biblaidd.

Heb na hŵg na dŵg.

Heb *dynu* na *denu* yw y meddwl. *Hwg* yw *bach*, sef *hook* y Saesneg; *dwg* a ddeillia o *dwyn*, sef *cario, cludo, denu:* hyny yw, heb na *gorfodi* na *darbwyllo.*

Heb na siw na miw.

Sef, heb na sisiad na brefiad.

Heb na migwrn nac asgwrn.

Heb na rhâd na bendith.

Heb na rhych na grwn.

Heb na thin na phen.

Heb na thŷ na thwlc.

Heb os nac oni bae.

Heb wybod i gi nac i gath.

Heddwch i'w lwch.

Cymhwyswyd y dywediad yna gyda phriodoldeb, yn debygol, pan y cofid mor fynych y byddai carn-ladron yn codi ac yn gwerthu cyrff y meirw i feddygon ac i yspyttai, ac am yr ystyrid fod llwch y corff dynol yn meddu rhyw arbenigrwydd nad yw yn perthyn i bob llwch arall. Nid rhyfedd felly fod dynion yn talu parch neillduol i lwch y rhai ymadawedig.

Hel blew ceimion.

Hen ben.

Cyhoeddir clodydd ambell un trwy ei alw yn *hen ben*, yn ddyn peniog—peniog i'r eithaf croes i benwag. Golyga un *deallus, call*, a *doeth*—un ag y dylid bod yn ofalus sut i siarad yn ei glyw, &c.

Hen ddant tuag ato.

Hen ferch, hen farch, hen ful, a hen fochyn, y cythraul yw eu hysgutor.

Henffych well.

Byddwch wych. Ymddengys mai oddiwrth y gair hanfod y mae hanffych neu henffych yn tarddu. Ni arferir y gair henffych byth ar ei ben ei hun; "henffych well" bob amser.

Hen gi ydyw ci Morgan.

Y meddwl yw, hen un craff, neu gyfrwys, nas gellir ei *dwyllo*, yw hwn a hwn.

Hen ridyll.

Un yn dyweyd cymmaint ag a ŵyr.

Hen ŵr cyfewin.

Sef ewin-gyrhaedd.

Hi a ddaw ato yntau.

Hidlo gwybedyn a llyngcu camel.—Biblaidd

Hir-bryd a wna fawr-bryd, a mawr-bryd wna fawr gywilydd.

Hir ei dafod, byr ei wybod.

Hir fydd edau fain gwraig eiddil.

Ymddengys mai yr ystyr geir yma yw, mai hir fydd yr edau fain yn dal, am fod y wraig *eiddil* yn rhy *egwan* i'w *defnyddio*, felly yn para yn ei *hyd*.

Hir fydd march bach yn ebol.

Hir fydd yr araf yn cyrhaedd ei daith.

Hir iawn fydd dyn gwirion yn myn'd allan o deulu.

Hir pob ymaros. Hefyd, Hir pob disgwyl.

Hir y bydd cywen yn gwneyd ei nyth.

Hir y cnoir tamaid chwerw.

Hoff gan bawb ei gariad.

Hoff gan frân ei llais ei hun.

Hoff pob peth newydd.

Hollti blewyn. Hefyd, Hollti nodwydd.

Hwda di a moes i minau.

Felly y dywedai yr hen bobl am dalu am bobpeth wrth ei gael. Dyna i ti yr eiddo a dyro i mi yr arian. A thyna y cwbl drosodd, heb eisieu son yn ei gylch yn mhellach.

Hwda o bob peth.

Digonedd—golyga gyfoeth mawr.

Hwi gyda'r ci a hwi gyda'r gath.

Y gwenieithus—anffyddlawn, diwaelod.

Hwrdd y fammaeth. Hefyd, Rhuthr y fammaeth.

Hwsmonaeth ar blanta yw lodes yn nghyntaf.

Am fod *geneth* yn fwy defnyddiol na *bachgen* i gynnorthwyo y fam gyda'r gweddill o'r teulu.

Hwy pery clod na golud.

Hwy pery llid na galar.

Hybio bob dydd.

Hyd at y bodiau.

Hyd ei ewin.

Eithafrwydd crintachrwydd.

Hyd heidden.

Hyf pob ceiliog ar ei domen ei hun. Hefyd, Hyf pob ci ar ei domen ei hun.

Hynach, hynach,—Ffolach, ffolach.

## I.

Iacha croen, croen llwfrgi.

Iawn i bawb gadw ei hun.

Iar ddu a ddodwy wy gwŷn.

Unoliaeth ansawdd greddf, ac nid unoliaeth y wisg allanol yw yr ystyr. Y mae dynoliaeth felly hefyd.

I bant y rhed y dw'r.

I drwch blewyn.

Iechyd da i chwi.

Moesair yr yfwr.

Iechyd i dy galon.

I ffon gam mae cysgod cam.

Profi fod pobpeth yn dwyn ei ryw ydyw yr ystyr; oblegid anniohon yw i gysgod ffon gam ffurfio cysgod *syth* neu uniawn.

I mewn drwy un glust ac allan drwy y llall.

I'r clawdd.

Pan fethir cario allan unrhyw orchwyl neu drafodaeth yn mlaen.

Iro cynffon hwch â bloneg.

Pan fydd ar rywun eisiau fod rhyw berson neu bersonau wedi arfer canmoliaeth er mwyn cyrhaedd rhyw amcan pennodol, megis, mewn un amgylchiad, arfer gweniaith er mwyn ennill ffafr.

Iro dwylo.

Llwgrwobrwyaeth, prynu ffafr.

I ti heddyw ; i bwy yfory ?

I'w dwll fel llygoden.

## L.

Lil-mi-lol.

Lol botes.—Ffregod.

Lwc mwngler.

## LL.

Llac ei afael a gyll.

Lladd ar ei gymmydog.

Lladd dau aderyn â'r un gareg.

Pan b'o rhywun wedi cyflawni *dwy* ddyledswydd neu ddwy neges yn nghyflawniad *un*, dywedir ei fod wedi "Lladd dau aderyn âg un gareg." Wrth ollwng y gareg nid oedd disgwyliad am *ddau* aderyn ond am *un*, os na byddai y ddau yn ymyl eu gilydd, yn ei olwg. Os y ddau yn ymyl eu gilydd, ac un yn y golwg, dyna ladd dau aderyn âg un gareg, yr hyn na ddisgwyliai taflwr y gareg wrth ei gollwng at *un*.

Lladd y diarth—dieithr.

Lladd y llo rhag cael ŷch.

Lladd yr amser.

Myned i wâg gyfeillach, neu ofer rodiana. Ei dreulio mewn oferedd.

Llanw mewn llu.

Llathen o'r un brethyn ydyw.

Llathenu'n ddidrugaredd.

Gwneyd yn ddibris o gymmeriadau dynion—parod i feio.

Llawer gwir drwg ei ddywedyd.

Llawer gwir gwell ei gelu.

Llawer mewn ychydig.

Llawer teg drwg ei ddefnydd.

Llaw flewog.

Y lladronllyd—pob peth yn glynu ynddi.

Llaw oer a chalon gynhes.

Wrth y "Llaw oer" y golygir *llaw agored* neu *amlwg*, heb ei chadw yn ei logell i'w *thwymo;* eithr ei defnyddio i gyfranu at reidiau yr anghenus—dyna yw y "galon gynhes."

Lle b'o brân y daw brân.

Lle b'o camp bydd rhemp.

Mae yn amlwg fod camp a rhemp yn golygu y goreu a'r gwaethaf.

Lle b'o cariad cuddir bai.

Lle b'o dolur bydd y llaw.

Lle b'o ewyllys bydd gallu.

Lle b'o llawer o ddâ bydd llawer o ddifa.

Lle b'o migin (mign) ni bydd egin.

Lle b'o wyau, daw rhagor.

Lle caffo Cymro, cais.

Lle crafo'r iâr y piga'r cywion.

Lledu ei big am bobpeth fel cyw brân.

Y trachwantus.

Lledu ei draed.

Lleiaf rhan, rhan y rhanwr.

Lleidr a charn lleidr.

Lleidr ddywed leidr gyntaf.

Lleidr garw ydyw tŷ.

Lle i bob peth a phob peth yn ei le.

Lle mae achos mae effaith.

Lle mae bywyd y mae gobaith.

Lletty'r falwen.

Yr awyr agored feddylir wrth "Lletty'r falwen," a gall hyny fod yn briodol hefyd, am fod rhai malwenod nad oes ganddynt ond yr awyr agored i fod yn lletty iddynt; ond y mae malwod ereill â chanddynt *gregyn* yn lletty iddynt. Gan hyny, i'r dosbarth yma, "Lletty'r falwen" yw "Cragen y falwen."

Llewyg iâr.

Llithro fel llyswen dan gareg.

Llon'd ei glôs.

Un chwyddedig.

Llon'd ei groen.

Lluchio'i gylchau.

Un yn myned o drefn gan dymher ddrwg neu eiddigedd.

Llunio bai lle na b'o.

Llunio'r gwadn fel b'o'r troed.

Yr addysg yma yw *trefnusrwydd*, sef "gwneuthur pobpeth yn weddaidd ac mewn *trefn*," yr hyn a rydd *esmwythyd diboen* i bawb. Fel y dywed rhyw hen gân, "Esgid ledr *ffit* i'm troed, a mab o'm hoed yn gariad."

Llusgo fel malwen.

Llusgo mochyn gerfydd ei glust.

Llw het.

Hen dwng a arferid gan ambell un wrth fargeinio—ffeirio neu werthu—oedd, y dymunai i'w lygaid ddisgyn drwy waelod ei het i'r ddaear, os nad oedd efe yn dyweyd "y gwir—yr holl wir—a dim ond y gwir."

Llwm tir na phoro dafad.

Llwynog o ddiwrnod.

Cychwyn yn braf yn y boreu, ac yn dod yn ystorm cyn y nos, neu pan ddigwyddo fod yn deg yn nghanol tywydd tymhestlog—siomedig.

Llydan a wisga, tŷn a dŷr.

Llyfiad llo.

Llygad dedwydd a wêl nodwydd.

Llygadu fel barcutan.

Llygad segur a wilia. Hefyd, Llygad segur a wêl wall.

Llygad y ffynnon.

**Arweinia'r ffynnon ni yn ol i'r cyfnod paganaidd. Fel rheol hefyd, gellir dweyd, lle mae ffynnon a chapel neu Eglwys megis yn gyfartal gyssegredig, ac yn fynych yn gyflwynedig i'r un Sant, yno y mae paganiaeth a Christionogaeth wedi goroesi mewn rhyw fath o gyfathrach. Coelir yn gyffredin fod dwfr ffynnonau o'r fath yn llesol i iachau gwahanol anhwylderau, ac mae y fath goel yn ein harwain yn ol i ryw gyfnod pryd yr edrychid ar ffynnon fel llygad rhyw dduw neu dduwies. Mae lle i feddwl fod rhyw goel hen yn glynu o hyd wrth y ffynnon—yn nghadw yn y ddelweddeg "Llygad y ffynnon,"—i gael y gwir noeth heb dynu oddiwrtho na rhoddi ato.**

Llygad y geiniog.

**Yr ariangar.**

Llygriad y peth goreu yw y llygriad gwaethaf.

Llyngcu fel gwylan.

## M.

Mae ail gynnyg i Gymro i'w gael.

Mae arferiad yn ail natur.

Mae blas ar beth, 'does dim ar ddim.

Mae bod yn symol yn well na bod yn sâl.

Mae brân i frân, dwy i frân front.

Mae brân i frân front a chlogwyn i farcutan.

**Unoliaeth greddf yw yr addysg. Fel y mae unrhywiaeth "Brân i frân front," felly mae y "clogwyn i farcutan"— dyna gartrefle *barcutan*.**

Mae bywyd rhinweddol yn rhad

Mae cariad yn ddall.

Mae clustiau gan grochanau bach.

**Awgrymair tuag at fod yn wyliadwrus, tra yn mhresenoldeb plant, rhag digwydd dyweyd rhywbeth ag y byddo drwg ei ail adrodd.**

Mae coll ynddo.

Mae cyfoeth fel dw'r yn rhedeg i'r un màn.

Mae cyngor da yn anmhrisiadwy.

Mae cystal pysgod yn y môr ag a ddaliwyd.

Mae cyw o *freed* yn well na phrentis.

Mae damwain o'r llaw i'r genau.

Mae dau faw ci yn Nghaer.

Mae dau wynt gan Gymro.

Gwynt cynhesu llaw a gwynt oeri potes.

Mae deilen at bob dolur.

Mae distawrwydd yn fynych yn atebiad.

Mae ewin o fab yn well na mynydd o ferch.

Mae fel 'styllod dirwyn.

Yr anwadal yn troi bob ffordd fel ceiliog gwynt.

Mae ffafriaeth mewn posel, 'does dim mewn gruel.

Mewn llestraid o bosel mae y caws ar y gwyneb wrtho ei hun, a'r gloewon yn y gwaelod; ond mewn gruel mae y blawd a'r dwfr a'r llaeth yn hollol gymmysg o ymylau y llestr hyd y gwaelod; ac nid oes felly ffafriaeth mewn gruel. Pan y crybwylla'r bechgyn am y naill neu'r llall, heb fod unrhyw achlysur o ddirmyg yn nglŷn â hwy, dywedant bob amser "cyrliad o ruel," a "phowliad o bosel."

Mae ffon uchaf i bob ysgol.

Mae gair o'r galon yn cyrhaedd y galon.

Yr ystyr yw "*haiarn* a hoga *haiarn.*" "Os myni wylo, wyla dy hun," ebai Socrates.

Mae gan bawb ei fàn gwan.

Mae gobaith am bawb ond y cythraul.

Mae gobaith gwr o ryfel, 'does gobaith neb o'r bedd.

Mae gwehilion i'r gwenith.

Mae gweithio'n rhad yn waeth na rhodio.

Mae gweithredoedd yn llefaru yn gryfach na geiriau.

Mae gwenwyn ar dy gymmwynas.

*Gwneyd*, ac yna *grwgnach*, neu *rhoi*, ac yna *dannod*, yw yr ystyr, tra y dysgir ni i "*Roddi* yn *haelionus*, ac heb *ddannod.*"

Rhywbeth tebyg i "*fwyd drwg ei lygad*," ag y sonia Solomon am beidio ei fwyta, rhag ei chwydu ar ol myned o'r tŷ.

Mae hen gof gan hen gi.

Mae hyny'n ddigon teg.

Mae llawer ffordd i ladd ci heblaw ei grogi.

Hen ddull poblogaidd o ladd ci yw ei grogi, ond dysgir trwy yr hen ddiareb yna y gellir lladd ci heb ei grogi.

Mae llawer gair o wawd yn wir.

Mae llawer gwr i'w gymmydog nad yw yn wr i'w wraig.

Y mae pob dau gyfaill yn ddau wr i'w gilydd (sef ei gymmydog) tra nad yw yn wr i'w wraig (sef gwraig ei gyfaill neu ei gymmydog). Dyna y syniad cudd, yn debygol, geir yn "Mae llawer gwr *i'w gymmydog* nad yw yn wr *i'w wraig.*"

Mae llwdn piblyd yn nghorlan pawb.

Rhyw un drwg yn perthyn i bawb.

Mae llygaid gan berthi a chlustiau gan gloddiau.

Wrth "llygaid gan berthi" y golygir y dichon fod rhywun yn gweled gweithredoedd eraill drwyddynt, ac wrth "clustiau gan gloddiau" y golygir y dylai y rhai fyddo yn ymddiddan fyned i gefn maes i hyny, rhag na byddo i neb eu clywed—rhywbeth yn agos o ran ystyr i eiriau Solomon, sef "Na felldithia y brenin yn dy *feddwl*, ac yn *ystafell dy wely* na felldithia y cyfoethog: canys *ehediaid yr awyr* a *gyhoedda y llais*, a *pherchen aden a fynega y peth.*" Preg. x. 20.

Mae mam garpiog yn well na thad cyfoethog.

Mae meistr ar Meistr Mostyn.

Mae mor fynych yn y farchnad groen yr oen a chroen y ddafad.

Ansicrwydd bywyd.

Mae'n anhawdd dwyn dyn oddiar ei dylwyth.

Mae natur yr hwch yn y porchell.

Mae'n cael ei wala a'i weddill.

Mae'n codi ei chynffon.

Cymhwysir y dywediad at wraig weddw fyddo'n gorawyddu am wr.

Mae'n dda genyf eich gweled.

Tybir fod mwy o gelwyddau yn cael eu dyweyd yn y pum' gair yna nag unrhyw bum' gair arall yn y Gymraeg.

Mae'n ddigon a phenddaru dyn.

Mae'n ddigon o bregeth i ddyn—*(i-ddyn* neu *rhywun).*

Ymadrodd arferedig gyda gradd o siom a syndod—weithiau o foddhad, weithiau o dosturi—pobpeth fyddo'n gwau ac yn gwibio drwy fynwes gynhyrfus.

Mae'n edrych cyn hyned a'i dad.

Mae newid gwaith cystal a gorphwyso.

Mae newid y penwaig arno.

Rhywbeth rhâd.

Mae'n fyd di-foch arnynt.

Arferai tlodion diwyd yn yr hen amser ymdrechu am fywoliaeth mewn amrywiol ffyrdd, na wyddai y rhai oedd yn byw mewn llawndid ac esmwythder ddim am danynt. Yn mhlith pethau eraill ag yr arferent ennill ychydig at eu hangenrheidiau oddiwrthynt, fel math o raid, byddai yn nglŷn â phob tŷ bychan "fochyn i'w bwyntio at y rhent," fel y dywedid. Eithr mewn encyd o brinder, pryd y byddai trybini wedi goddiweddyd pobl—eu hanalluogi i gyfarfod gofynion y pwysid arnynt o'u herwydd—dyna yr adeg y tynid allan yr hen ddywediad "Mae'n fyd di-foch arnynt." Gŵyr y cyfarwydd mai magu a phesgi moch oedd arfer gwlad i *gyfarfod y rhent* yn benaf gynt, a phan na byddai fochyn ni byddai ardreth mewn golwg chwaith, a gwae y byddai felly arnynt. Ystlys o'r un corff, ond nid mor oedranus, efallai, ydyw "Mae'n fyd di-fochyn yma," ellir glywed yn fynych ar bang o wylltineb bas gan famau tra wrth y gorchwyl o ymgeleddu eu plant gwamal wedi eu bod yn llercian mewn llaid, yn nofio cychod papyr, neu yn chwareu "spy" rhwng coesau henafgwyr, &c. Sut y daeth y dywediad hwn allan, ni wyddis, fodd bynag am hyny, yr oedd y mochyn yn llanw cylch eang a phwysig mewn hen lenyddiaeth.

Mae'n gelwydd fel mae'n gymmalau, ac yn gymmalau fel coes mochyn.

Dywediad a ddefnyddir i arddangos graddau o gelwydd annghyfrifol a disylwedd.

Mae'n haws cael caws o fol ci na cheiniog o Frychyni.

Mae'n haws cael darn o'r lleuad.

Mae nhw'n dweyd.

Mae nythod llygod ynddo.

Dywedir am ddyn *cuddiedig*, fel nyth llygoden, fod llawer o "nythod llygod ynddo," a dyn heb fod felly—*dyn amlwg, agored* ei fynwes, ei fod heb "nythod llygod ynddo."

Mae o fel ffust.

Mae o wedi myn'd yn hwdwl glân.

Yn wallgofwyllt.

Mae pawb yn arw am dano.

Mae prawf y potes yn y bwyta.

Mae pwll budr neu gareg lithrig yn mhob man.

Mae pwrpas yn gystal a gwaith.

Mae'r byd i'r ieuangc.

Mae'r byd i bawb fel eu gilydd.

Mae'r byd yn dyfod am ei ben fel lli'r afon.

Mae'r bwrdd yn uwch na'r baw.

Mae'r calla'n colli weithiau.

Mae'r gêg arno.

Chwannog i ymyfed.

Mae rhagor rhwng diwrnod a dau.

Mae rhagor rhwng dweyd a gwneyd.

Mae rhagor rhwng rhythu llygaid a myned o gof.

Mae rhawn gwynion yn ei gynffon.

Gair arall o gyffelyb ystyr ydyw, "Mae ganddo bluen wen yn ei gap," ond fod *rhawn* yn briodol i'r *gynffon*, a'r *bluen* i'r *cap*. Ystyr y *rhawn gwynion* a'r *bluen wen* ydyw *gweniaith*, sef dyn neu ddynes yn wenieithus, o ymddangosiad arwynebol.

Mae'r hen gaingc arno.

Mae rheswm ar bobpeth.

Mae y rhod wedi troi arno.

Mae rhyw afael gan gareg fyddo'n ddwfn yn y tir.

Yr ystyr, mewn geiriau ereill, yw hyn :—"*Y mae rhyw afael gan ddyn fyddo'n ddwfn yn serch y wlad.*" Dyna, yn debygol, yw meddwl llythyrenol yr hen wirair yna.

Mae rhyw ben o'r wain o hyd.

Mae rhywbeth i'w ddysgu o fedydd hyd fedd.

Mae rhywbeth yn gwneyd i'r gath lyfu'r pentan.

Mae rhywbeth yn well na dim.

Mae rhyw ddrwg yn y caws.

Dyna ddywedir pan b'o argoel ddrwg mewn cyssylltiad â rhywbeth. Ymddengys mai caws oedd y peth hawddaf o bobpeth i'w lygru—cael cyfleusdra i roddi rhywbeth ynddo a'i dyfethai, fel na byddai gymhwys i'w ddefnyddio yn enllyn teuluaidd mewn unrhyw fodd. Dyna, yn debygol, wythïen yr hen ddywediad hwn.

Mae rhyw fai ar bawb.

Mae rhyw gath yn nghwpwrdd pawb.

Hyn sydd yr un peth a dweyd fod gan bawb ei faich, pawb ei ofid, yn bersonol a chenedlaethol. Ond pwy erioed sydd wedi cwbl orchfygu amgylchiadau ?

Mae rhywun at bobpeth, neu i bobpeth.

Mae'r wialen fedw yn y golch.

Dyna ddywedir wrth blant fyddo'n ymdroi ar eu neges, &c. Gwyddys fod *golch* yn llosgi y *cnawd-archoll;* felly, meddwl "yn y golch" yw, defnyddio y "wialen fedw" i ffrewyllu y cnawd, nes y byddo'n llosgi ar ol yr oruchwyliaeth. Dyna y gymhariaeth, yr hon sydd yn dra phriodol.

Mae siampl dda yn well na chyngor.

Mae tipyn o gynffon gan y dydd rwan.

Mae trai i bob llanw.

Tebyg yw dull y byd a'i bethau. Gellir tybio wrth weled y llanw yn dyfod i fewn fod y môr yn myned i adael ei orweddle a gorchuddio y ddaear, ond yn mhen ychydig o amser, ceir ei weled megis yn pryderu ac yna yn troi yn ei ol; felly bywyd ansefydlog dyn a welodd ddyddiau gwell, ac a welai ddyddiau gwaeth.

Mae tri hwb gan gafod.

Mae tro yn ei gynffon.

Mae twyll yn mhob trâd.

Mae wedi myn'd i'r wàl arno. Hefyd, Mae wedi chwech arno.

Sef yn rhy ddiweddar.

Magu plant, magu poen.

Mam ysig wna ferch ddiog.

Marwol ydyw'r byd.

Marw yw pawb yn ei gefn.

Medda nhw.

Tebygol mai nhwy—hwynt-hwy, olygir wrth y *nhw*—tafod y werin.

Meddwl byr a wna hir ofal. Hefyd, Meddwl byr a bair hir ofid.

Meddwl ganwaith cyn gwneyd unwaith.

Meddwl pwyllog, gwaith bywiog.

Medd y frân.

Dull o grybwyll am beth y byddo perygl i'w ddyweyd pan na ewyllysir amlygu pwy a'i hysbysodd. Cnewullyn "Medd y frân," yn ol pob tebyg, sy ddeilliedig oddiwrth Odin—prif dduw y rhai a gyfanneddent Ogledd-barth Ewrop yn yr oesoedd boreu. Ganddo ef a'i frodyr, yn ol yr ofergoel, y crewyd dynolryw o ddau ddarn o bren, y naill yn onen a'r llall yn elm. Asgard ydoedd preswylfa y duwiau, lle yr oedd llawer o balasdai gorwych, un o honynt a elwid yn balas llawenydd, yn yr hwn yr oedd Odin yn eistedd yn nghanol ei deulu dwyfol. Gelwid ei orseddfaingc yn *Lidskialfa*, neu Ofn y Cenedloedd, oddiar hon gallai weled yr holl ddaear. Yr oedd dwy gigfran wrth ei glust yn mynegi iddo yr hyn fyddai yn cael ei gario yn mlaen yn y greadigaeth. Tebygol mai hyn ydyw dechreuad "Bran Achwyn" y mamau yn Sir Gaernarfon a siroedd ereill Cymru.

Meindied pob dyn ei fusnes ei hunan.

Meistr pob gwaith yw ymarfer.

Melinydd fydd yn gwaeddi.

Melus [illegible]ach afal o'i ddwyn.

Melu[illegible] bys pan losgo.

Melu[illegible]s hûn y gweithiwr.

Melus i bawb ei bleser.

Melus i bawb frefiad ei ddafad ei hun.

Yr un addysg a geir yma ag a geir yn "*Gwyn* y gwel y frân ei chyw, er fod ei liw yn *loewddu.*"

Melus moes mwy.

Melus rhodd mewn angen.

Merch o blas a hwch o felin.

Gwrthgyferbyniad yw y dywediad. Er yn *ferch* mewn *plas*, bydd yn *hwch* mewn *melin*. Yn debyg i'r hen bennill,—

"Waeth imi garu *polyn* helig,
Na charu *gwas* i wr boneddig."

Ystyr arall :—Fel y mae merch yn byw yn dda mewn *plas*, felly y mae hwch yn byw hefyd mewn *melin*. Ond, gwae a'u caffo ar gyfrif y draul o'u cadw.

Methu gwel'd y coed gan brenau.

Mewn baw mae hel arian.

Mewn undeb y mae nerth.

Mi ddaw hi yn fis dàl arno yntau (hithau neu hwythau).

O ddeall arwyddion yr amserau, erys yr hen fynegiad yna, mewn ystyriaethau eraill, yn debyg i hyn :—Os yw yr ieuengctyd gymmaint ar eu huchel-fanau fel na wyddant "pa ben i'w roi yn isaf," megis, daw byd mawr, meddal, y priodi a hwy atynt eu hunain ; yna, bydd elfen newydd a dieithrol yn cymmeryd lle yn eu mynwesau—"y rhod wedi troi" arnynt —adeg tori tros derfynau rhag-gyfeillach wedi eu dàl. Bellach, ni fydd eu gyrfa cyn ysgafned—nid ysgafn baich y byd a'i drafferth.

Mi ddaw hi yn gochddu'r ddafad arno !

Rhywbryd, tra yr oedd tri neu bedwar o henafgwyr yn sefyllian hefo'u gilydd yn llwybrau'r llymwynt, elai heibio iddynt ddyn ieuangc braf o ran yr olwg allanol, ond lled amddifad o ledneisrwydd natur, a diwybod am ysbryd blinder bywyd. "Wyddoch chi beth," ebai un o'r henafgwyr, yn ddifrifol a phenisel, a chyda dwysbigiad calon, gan edrych ar ei gyfoedion yn arwyddocaol,—"Mi ddaw hi yn gochddu'r ddafad arno yntau !" Yn absenoldeb un hysbysrwydd arall, tybiwn y dichon mai yr arferiad neillduol o ddodi gwlân cochddu mewn clustiau i'r diben o leddfu gwayw yn y pen, achlysurodd

y cyfryw ddywediad, pryd yr oedd deddfau iechyd yn cael eu deall yn llai, hyd y nod, nag y maent yn awr. Os nad ê, gellir tybio mai *prinder* olygir wrth y gyfryw frawddeg, fod bychander rhif defaid cochddu mewn cymhariaeth i rif defaid gwynion yn awgrymu hyny. Cawn hefyd fod memrwn traddodiad gwlad yn cadw fyth ar gof ragoriaeth gwlan cochddu ar wlan llwydwyn. Ystyrid y blaenaf, bob amser, yn llawer mwy ei werth na'r olaf, ac o ganlyniad yn uwch ei bris.

Mi wel'is inau ddydd.

Modfedd o fab a mynydd o ferch.

Modrwy aur yn nhrwyn hwch.—Biblaidd.

Moliant i'r Gwr goreu.

Mor addfwyn a'r oen.

Mor amheuthyn a chrempog i fochyn.

Mor aml a gwybed yn mis Awst.

Mor anaml ag asyn marw.

Mor anwadal a'r gwynt.

Mor anystig a chi i'w grogi.—Anewyllysgarwch.

Mor anniolchgar a mochyn.

Mor barablyd a chornant ar lif.

Mor ben-deneu a'i gysgod.

Mor brysur a chynffon oen fis Mai.

Mor brysur a ffidler.

Mor brysur a iâr un-gyw.

Y meddylddrych yw *gorbrysurdeb* gydag *ychydig* o waith, yr un fath a phob iâr gydag ychydig o gywion.

Mor brysur a phe'n lladd nadrodd.

Mor dew a'r afal.

Mor dewglyd a'r ddafad.

Mor drwm a'r plwm.

Mor ddall a'r ddylluan.

Mor ddiflas a photes wedi ei ail dwymo.

Mor ddig'wilydd a cheffyl melin.

Mor ddilewyrch a chanwyll frwyn.

*Canwyllau brwyn* yn gywir, er mai *canwyll* (unig) a *brwyn* (lliosog) oedd yn cael ei arfer. Yr oedd yr arfer y fath fel nas gellid ei ddadwneyd.

Mor ddiniwed a'r golomen. Hefyd, Mor ddiniwed a'r oen.

Mor ddiofal a phe newydd silio.

Un yn teimlo megis uwchben ei ddigon.

Mor ddiwyd a'r wenynen.

Mor ddistaw a'r bedd.

Mor ddiymadferth a phren.

Mor edifar a'r gwr laddodd ei filgi.

Mor euog a chi'n lladd defaid.

Mor feddw a thincer.

Mor felyn a'r aur.

Mor fin-gauad a llyffant fis Medi.

Fel y mae y llyffant yn safngauad yn mis Medi, felly, ar adegau, y mae dyn yn ddawedwst, fel na cheir gair o'i enau.

Mor frau a chaws llyffaint.

Mor fyddar a'r gareg. Hefyd, Mor fyddar a'r post.

Yr anystig i gychwyn pan gymhellir.

Mor ffals a'r bi. Hefyd, Mor ffals a'r gath.

Mor ffyddlon a gwâs y gôg.

Mor galed ag asgwrn cath.

Mor gelwyddog a chrydd.

Un yn dyblu diwydrwydd mewn dweyd anwireddau.

Mor glust-lipa.

Mor groen-deneu.

Mor gyfnewidiol a'r tywydd.

Mor gyfrwys a'r sarff.

Mor gyndyn a mochyn.

Mor gywir a'r ddeial.

Mor lawen a'r gôg.

Mor leuog a dallhuan.
Mor lym a nodwydd.
Mor lloweth a'r llo.
Mor oleu a'r haul.
Mor onest a'r geirchen.
Mor santaidd a Phâb.
Mor sobr a sant.
Mor sych ag odyn galch.
Mor sych a'r garthen.
Mor sychlyd a 'sglodyn mewn potes.
Mor uchel a brigau'r ser.
Balch ei fryd, gan amlaf; un isel ei amgylchiadau.
Mor unig a'r feillionen.
Mor wan yw euogrwydd.
Mor wastad a'r ŷch yn ei gwys.
Mor wên deg. Hefyd, Mor wenieithus.
Mor wydn a lledr.
Mor wŷn a'r lili.
Morwyn sâl wna wraig dda.
Mwyaf cam, cam lleidr.
Mwyaf coll, coll y mwyaf.
Mwyaf geir, mwyaf geisir.
Mwya'i gamp mwya'i remp.
Mwyaf poen, poen y methwr.
Mwyaf trwst llestri gweigion.
Mwya'i fai parotta' i feio.
Mwy na bwch i odyn.
Mwy na llon'd ei ddillad.
Ynfyd; ffwl gwneyd.
Mwy o dwrw nag o daro.
Mwy o lwc nag o 'sgil.
Mwy syndod na'r eisieu bwyd.

Mwy syndod na'r Saith.

Saith Rhyfeddod Cymru. Ceir amryw restrau yn gosod allan yr hyn a elwid yn Saith Rhyfeddod Cymru, ond pob un yn wahanol. Nis gallaf roddi hysbysrwydd am darddiad y dywediad, na rhestr gywir o'r hyn a ystyrid felly. Beth bynag am danynt, y mae amser a chynnefindra yn gwneyd pob peth yn gyffredin.

Myn'd a'i damaid o'i geg.

Mae tamaid dyn yn ansicr iddo os na bydd wedi ei lyngcu.

Myn'd ar ei hen sodlau.

*Henaint* a *musgrellni*, sef bod yn *droed-drwm*, a'r *cam* yn *fyr* ac *anniben*, a olygir yma.

Myn'd a'r wy i nol yr iâr.

Yr un meddylddrych sydd yn y dywediad hwn ag sydd yn "Gwario swllt er ennill ceiniog," neu "*penny wise and pound foolish*" y Saesneg. Y prawf yw hyn: Pob un a ymdrecho i ddenu iâr ag wy i eistedd arno, a ŷr yr iâr i ddodwy ac eistedd mewn lle arall.

Myn'd dros y nyth.

Dyna ddywedir am blant yn gadael eu cartref. Fel y mae "Myn'd dros y nyth," yn golygu fod cywion adar yn gadael eu magwrfa, a dechreu myned i ofalu drostynt eu hunain, heb i'r hen ofalu am danynt; felly mae y plant yn gadael eu cartref hwythau yn gyffelyb, gan ofalu drostynt eu hunain.

Myn'd fel hoel dân.

Myn'd fel sidell troell.

Myn'd heibio fel cysgod barcutan.

Myn'd i ddilyn ei drwyn.

Heb ganddo unrhyw amcan neillduol mewn golwg.

Myn'd i fara drwg.

Sef myn'd i helbul yn ei amgylchiadau. Nid oes ystyr arall i'w roddi iddo.

Myn'd i'r Rhiw i chwilio am Nefyn.

Myn'd i'w gragen.

*Digio*, *sori*, &c., a olygir yma, yn gyfystyr â "Myned i'w gwd."

Myn'd i'w lawes.

Myned yn ffafryn (*pet*) gan un yw meddwl y frodde "Myn'd i'w lawes," sef bod yn anwyl ac o ymddiried gan y sawl a'i dewisodd i'w ymddiriedaeth. Y *llawes*, fe ymddengys yw yr *ymddiriedaeth*, neu *galon ffyddiog* yr *ymddiriedwr*.

Myn'd o ddrwg i waeth.

Myn'd o lech i lwyn.

Y meddwl am *lech* yma yw *llechwedd*, sef myn'd o lechwedd i lwyn; hyny yw, myned o awyr agored i ddiddosrwydd.

Myn'd yn ol llaw.

## N.

Nac edrych ar y gwin pan fyddo coch.—Biblaidd.

Nac oedwch hyd yfory yr hyn ellir wneyd heddyw.

Nac ymddiried i sawdl march, nac i ddant ci.

Nac ymffrostia yn y dydd yfory.

Na fernwch y diwrnod yn y boreu.

Na ofalwch dros dranoeth.—Biblaidd.

Na phryderwch oedd yr ystyr pan gyfieithwyd ein Bibl ni; a gosodid y disgyblion ar eu gwyliadwriaeth rhag bod yn bryderus yn nghylch y dyfodol, gan fod eu Tad yn y nefoedd yn gwylio eu holl symudiadau, ac yn darparu ar eu cyfer.

Na phryn aerwy cyn cael buwch.

Na thalwch ddrwg am dda. Hefyd, Na thalwch ddrwg am ddrwg.

Naw wfft iddo!

Nerth braich ac ysgwydd.

Nerth y deng ewin.

"Nid oes ganddo at fyw ond nerth y deng ewin," meddir. "Llaw y diwyd a wneir yn frâs," medd Solomon, yr hyn y sydd yn gyfystyr â "nerth y deng ewin," neu lafur y ddwylaw.

Nesaf at bawb ei friw ei hun.

Nesaf i'r Eglwys pellaf o Baradwys.

Nes bywoliaeth na phleser.

Nes penelin nag arddwrn.

Pe dodid y gair *calon* i fewn i'r hen ddywediad hwn (yr hyn a olyga hefyd) gwelid ei ystyr yn amlwg, sef "Nes *penelin i'r galon* nag *arddwrn.*" Dyna y meddwl yn gyfangwbl. Yr addysg o hono yw, "Gwell cymmydog *agos* na chymmydog *pell.* Neu, "*Cyfaill* a lŷn yn well na *brawd,*" yn ol y Bibl.

*Netia* ar ddyn yw natur dda.

Ni arbed fy mhen ddim ar fy nhraed.

Ni bydd budd o ychydig.

Ni bydd gwan heb ei gadarn.

Ymddengys mai "nerth yn ol y *dydd*, a chymhorth yn ol yr *achos,*" sydd yn wythïen trwy y gwerinair hwn.

Ni bydd rhybarch rhy gynnefin.

Ni chaiff dim lonydd ganddo, os na bydd yn rhy drwm neu yn rhy boeth.

Ni chanlyn angeu da fywyd drwg, nac angau drwg fywyd da.

Ni charodd Crist a'i crogodd.

Ni cheir ar lwynog ond ei groen.

Ni cheir chwareu â'r afal a'i fwyta.

Ni cheir da o hir gysgu.

Ni cheir gwlân rhywiog ar glun gafr.

Ni cheir mo'r melus heb y chwerw.

Ni cheir ond cywilydd neu golled o echwyna.

Ni chellwair hen gi â chenaw.

Ni cherir yn llŵyr oni ddelo yr ŵyr.

Hyny yw, y mae y *caru* yn dal yn *llwyr* hyd *wyr*, ac wed'yn *lleihau* fel y palla y berthynas. Dyna y syniad.

Ni chlyw llwynog mo'i ddrewi ei hun.

Y mae *clywed* am *deimlo*, *archwaethu*, ac *arogli*, gan arfer oesoedd yn mysg y werin. Yr ystyr mewn aralliad ydyw, "Ni wel dyn mo'i fai ei hun." Y mae y syniad yna yn y Testament Newydd, lle y sonir am un yn gweled *brycheuyn* yn llygad ei frawd, tra'r *trawst* yn ei lygad ei *hun*.

Ni choelir mo'r moel nes gwel'd yr ymenydd.

Dywediad yr hen wrth rybuddio yr ieuangc diystyr o'i gyngor.

Ni chollodd yr ufudd erioed.

Ni chwery cath dros ei blwydd.

Ni chwsg dedwydd y boreu.

Ni chwsg y gofalus, ond cwsg y galarus.

Ni chydia y naill lwynog yn y llall.

Cyfrwysdra yw nodwedd llwynog, felly mae dau gyfrwys yn rhy gyfrwys yn eu cyfrwysdra i niweidio eu gilydd.

Ni chyfyd y diog na syrth ei ystôl.

Ni chyll y cwn mo'u 'nabod arno.

Ni chyll 'stori ddim wrth ei hail adrodd.

Ni chyll yr iâr ei hirnos.

Nid â drwg fel y dêl.

Nid aeth neb yn gyfoethog heb ddwyn tipyn.

Nid âg us y delir hen adar.

Nid â, mwy na'r cythraul at y groes.

Atgasrwydd, anystigrwydd, ac euogrwydd neillduol olygir wrth y mynegiad yna. Nodir llawer o bethau âg arwydd y Groes, megis achles o ddiogelwch rhag pob drwg-ddamwain allasai ddigwydd o unrhyw gyfeiriad. Byddai yr hen bobl yn croesi eu hunain wrth orwedd ac wrth godi; ar eu hwynebau a'u mynwesau, a thros y dwfr â'r hwn yr ymolchent; wrth fyned allan neu ddyfod i mewn; wrth oleu canwyllau, agor a chau y drysau a'r ffenestri, &c. Dywed Pennant y byddent, wrth dderbyn y cymun, yn ysgwyd y fawd, fel pe buasent yn gwneyd llun croes, ac felly yn eu gweddïau ar eu dyfodiad cyntaf i'r Eglwys. Mae y defodau hyn o ddechreuad hen, ac mewn arferiad, i raddau, hyd heddyw, megis y gwelir gwragedd yn croesi y toes wrth ei barotoi i'w grasu yn dorth-au. Nid am eu bod yn rhoddi unrhyw hyder yn y peth; eithr o ymyraeth trwy gynnal i fyny arfer a dderbyniasant oddiwrth eu hynafiaid heb wybod nac ymholi erioed pa beth a arwyddocâ, nac ystyried eu bod yn parhau cadwedigaeth un o'r hen arferion a adawodd amser ar ei ol, fel pe wedi methu eu difa.

Nid a red a gaiff y budd.

Nid ar unwaith y gwnaed Llundain.

Nid aur yw pob peth melyn.

Nid bwyd gwenyn i geiliog.

Nid cadarn ond diwrnod.

Nid cof gan yr offeiriad ei fod yn glochydd.

Nid cynt y sych dim na dagrau.

Yr ystyr cywir yw, nad ydyw dagrau ond *byr* eu parhad; a da hyny. *Angnhof* y sydd yn eu sychu, megis y dywedir, "Tir annghof yw y bedd."

Nid dafad yw pob peth gwŷn.

Nid da gormod o ddim  Hefyd, Nid da rhy o ddim.

Nid da lle gellir gwell.

Nid da pobpeth gwŷn.

Nid difudd y diwyd.

Nid dodwy yw clochdar.

Nid drud dim da.

Nid dyma i mi a phriodi yfory.

Nid dyn cryf fedr ganu'r delyn.

Nid edrych angau pwy deca' ei dalcen.

Nid felly'r aiff Morgan i foddi.

Nid gwaeth cywir er ei chwilio.

Nid gwaeth ei ddweyd na'i feddwl.

Nid gwaeth gwir er ei ail adrodd.

Nid gwell dim na digon.

Nid gwiw gwadu y caswir.

Nid hawdd tynu mêr o bost.

Nid hir dim ond toriad dydd.

Tebygol mai cymhwysiad sydd yma i un yn gweled y wawr yn hir yn tori, ac yntau yn disgwyl yn bryderus am doriad dydd.

Nid hir y ceidw'r diawl ei wâs.

Nid iach ond a f'o marw.

Nid mwy gwaith côg na chanu.

Nid oes allt heb oriwaered.

Nid oes dim ddeil iddo ond croen ei fol.

Yr ymrwyfwr didrefn a difudd—un yn difrodi'r cwbl fo'n digwydd i'w ran, fel pe rhoddid tân ar ddeupen canwyll.

Nid oes dim nas cyhydir ond edafedd gwawn.

Nid oes dŷ heb gyfrinach.

Nid oes eisiau dyweyd ei bader i Berson.

Nid oes modd galw ddoe yn ol.

Nid oes neb heb ei fai. Hefyd, Heb ei fai heb ei eni.

Nid oes neb heb ei gymhar.

Nid oes neb mor ddall a'r hwn na fyno weled.

Nid oes o ddrwg ond drwg i'w ddisgwyl.

Nid oes unman fel cartref.

Nid rhyfedd dim cynnefin.

Nid talu yw addaw.

Nid trwm ond daear.

Nid twyll twyllo twyllwr.

Nid uniaith bronfraith a brân.

*Unoliaeth rhywogaeth pob peth* yw yr addysg, hyd y nod mewn *ansawdd*, *ffurf*, a *llais.*

Nid wrth ei big mae prynu cyffylog.

Dysgir ni gan y ddiareb hon i beidio barnu pethau wrth eu hymddangosiad ; gall llawer o wahanol bethau *ymddangos* yr hyn nad ydynt mewn gwirionedd.

Nid ydyw'n sychu mo'r *camric.*

Nid ydyw tlodi yn bechod.

Nid yw brân yn wynach o'i golchi.

Nid yw bwyd ond i'w brofi.

Nid yw cywilydd ond fel ei cymmerir.

Nid yw gwydd wyllt yn dodwy wy dôf.

Nid yw'n *sound* yn ei garn.

Nid yw'r call ond call weithiau.

Nid yw'r doeth ddoeth bob amser.

Nid yw'r ych eto wedi sangu ar ei droed ef.

Hyny yw, nid yw eto wedi cwrdd ag anffawd trwm. Yr oedd yn arferiad yn yr hen amser i roi erw o dir i ddyn a fuasai yn colli ych wrth aredig, a gelwid hwnw yn erw yr ych du—yr ych marw. Credwn fod dywediad lled debyg, yn gyffredin, eto yn aros ar lafar mewn llawer man, megis "Sathru ar ei droed ef," "Sathru bodiau ei draed," &c., yn golygu brath dialgar oddiwrth un ag yr enynid ei ddigofaint. Fel y gellir tybio, yr ystyr sydd agos yr un â'r dywediad "Sathru ar ben ei denyn," ac weithiau "Sathru ar ei denyn."

Ni ddaeth drwg erioed o dewi.

Ni dda gan bob barus mo'i gymhar.

Ni ddaw da o ddrwg obaith.

Ni ddaw da o hir gysgu.

Ni ddaw i neb ddoe yn ol.

Ni ddaw yfory byth.

Ni ddeil llestr pridd i'w daro wrth y prês.

Yr addysg yw, mai ofer yw i'r *gwan wrthwynebu* y *cryf.*

Ni ddichon gwàn ond gwaeddi.

Ni ddisgyn brain ar fraenar ond unwaith.

Ni ddywed plentyn ond a glywo ar aelwyd.

Ni fedr gymmaint a thori ei enw.

Dyna fel y dywedai yr hen bobl am ysgrifenu enw yn ein dyddiau ni. Yn lle ysgrifenu eu henwau, tori eu henwau wnaent hwy, canys defnyddient offeryn miniog i gerfio allan eu henwau mewn llafn o bren, tra y gwnawn ni hyny ar ein llen bapur â'n hysgrifell. Cerfiai yr hen feirdd englyn ar ddarn o bren ysgwâr â'u cyllill, llinell ar bob gwyneb iddo, a galwent ef "ynglyn"—llinellau yn nglŷn. Ymddengys mai oddiwrth hynyna y tarddodd yr hen air "tori enw," "Ni fedr gymmaint a thori ei enw," &c.

Ni fentra beth ni chyll ddim.

Ni fo ddoeth ni fyn ei ddysgu.

Ni fu ddrwg erioed o hirymaros.

Ni fu erioed deiliwr na fyddai lau.

Nid *llau* neu *lice*, ond *llàu*, sef *to lay open*, a *to slay* y Saesneg. Yn y Geirlyfr Saesneg, tan y gair *lay*, ceir y gair Cymraeg

*Llëu*, sef *rhoi lle*. Meddwl yr ymadrodd, "Ni fu erioed deiliwr na fyddai *läu*," gan hyny, ydyw, "Ni fu erioed deiliwr na *roddid lle* iddo," neu "na *fyddai lle* iddo."

Ni 'hedodd gwydd dew erioed yn mhell.

Yr ystyr mewn aralliad ydyw, na ddigwyddodd i ddyn a chanddo *bwysau cyfoeth* i'w cario gydag ef, fyned yn mhell i gael gwraig, fel *gwydd dew* yn *rhy drom* i *ehedeg* yn *mhell*.

Ni heneiddia meddwl henwr, y corff a dderfydd gan y gŵr.

Ni lewygodd march ar un-nos.

Ni lwydd a gaffo annoeth.

Ni ochelo'r mwg ni ochel ei ddrwg.

Ni raid cloch wrth wddf ynfyd.

Ni raid i ddedwydd ond ei eni.

Ni saif gwlaw ar gefn ceiliogwydd.

Nis gŵyr pa lin i'w gosi.

Dyn mewn *cyfyng-gyngor* neu *ddau feddwl* yw yr ystyr.

Ni syfla yr un hoc.

Ni thâl cam bach mo'i wrthod.

Camwri bychan feddylir.

Ni thawdd dyled er ei haros.

Ni thodda'r menyn yn ei geg.

Ni thorir esgyrn gan ddwrn y fam.

Ni thwyllir hen adar âg us. Hefyd, Ni thwyllir hen geffyl âg us.

Ni thyf gwallt gwŷn ar ben pawb.

Ni ddaw ffawd gyda phawb.

Ni thynir gwaed o gareg.

Fel nad oes gwaed i'w gael o gareg, felly ni cheir elusen o logell cybydd. Pobpeth o'r natur yna a geir yw yr ystyr.

Ni thŷn y bwdingen o'r crochan.

Ceffyl noglyd.

Ni thŷr ef mo'r cnau gweigion.

Ni thŷr gwlaw un asgwrn.

Ni waeth dweyd wrth y gwynt.

Ni waeth heb geisio curo grâs â phastwn.

Ni waeth heb son am dano.

Ni waeth tewi a siarad.

Ni waeth hyny na mwy. Hefyd, Ni waeth hyny na phregeth.

Ni wna grwgnach y dorth yn fwy.

Ni wna na th'wysu na thagu.

Ni ŵyr ond a wrandawo.

Ni yswigia yr un fèr.

**Berau—coesau. Golyga y colofnau sydd yn cynnal y babell glai.**

Noswyl iar gwae a'i câr.

## O.

O bant i bentan.

**Cyfystyr ag "O dwlc i dalcen;" sef, er cwympo i lawr, codi'i fyny; er colli y ffordd, cyrhaeddyd gartref, &c.**

O bant i dalar.

**Dyweyd yr holl hanes—myned dros y tir i gyd.**

O bared i bost. Hefyd, O bost i bentan, ac O biler i bost.

Obryn abred.

**Am un anwadal neu gyfnewidiol.**

O dan ei oleu.

**Ymadrodd a arferid gan hen bobl i ddysgrifio cyflwr dyn marw o awr adfydus ei farwolaeth hyd ei angladd, deilliedig oddiar yr arfer o oleuo canwyllau yn ystafell y corff, y rhai a gedwid yn oleu hyd awr y cynhebrwng.**

O dan glust ei gap.

**Yn ei fwriad.**

Odid fab cystal a'i dad. Hefyd, Odid ferch cystal a'i mam.

O dipyn i beth.

O ddau dda, y goreu yw'r mwyaf.

O ddau ddrwg, y goreu yw'r lleiaf.

O ddim, dim ni ddaw.

O ddrwg i waeth.

Oes twrch blwydd.

"Ni fydd yn ei le oes twrch blwydd."

O faw i fwy.

O febyd hyd fedd. Hefyd, O febyd i fedd.

Ofer cadw tô ar ysgubor wâg.

Ofer dadlu wedi barn.

Ofer twymo dw'r i'w daflu allan.

Dull i senu un am drafferthion diangenrhaid a threulion diamcan.

O bluen i bluen y pluir yr wydd. Hefyd, O flewyn i flewyn fe â'r llwdn yn llwm. Eto, O flewyn i flewyn yr â'r pen yn foel.

O foreu glas hyd hwyr.

Yr un peth ag "O foreu *cyntaf* neu *eithaf* hyd hwyr." Y mae i bob gair, agos, fwy nag *un* ystyr, ac felly i'r ansoddair *glas*. Ystyr blaenaf *glas* yw *utmost* y Saesneg ; megis "Ar ei oreu glas," sef *to the* utmost *of his ability*.

O gam i gam.

O gas i gasaf.

O gêg i gêg.

Felly y taenir chwedlau.

O glawdd i glawdd. Hefyd, O glun i glun.

O hir ddilyn drwg, mawrddrwg ddaw.

O hongc i hongc.

O'i ben a'i bastwn ei hun.

Rhywun yn gwneyd rhywbeth yn ol ei fympwy ei hun, feddylir. Tebygol mai ei *ben* ydyw ei *hun* neu ei *ddeall*, ac mai ei *bastwn* ydyw ei *fympwy* neu yr *erfyn* â'r hwn y gwna efe ei orchwyl.

Oni byddi gryf, bydd gyfrwys.

Hen air a llawer o synwyr ynddo, ac yn un y gweithredir wrtho yn fynych.

Oni fentri beth, ni ennilli ddim.

Oni heuir ni fedir.

O'r badell ffrio i'r tân.

O'r cryd i'r bedd.

Oriog fel yr hin.

Yr anwastad ei dymher.

Os am ddw'r glân ewch i lygad y ffynnon.

Os bydd dau yn yr un tŷ yn dwyn yr un enw, bydd un o'r ddau bob amser yn ffwl.

Os bydd eisiau crogi ci dyweder yn dda am dano.

Ystyr yn *dda* yw *gwir*, am fod pob *gwir* yn *dda*. "Dweyd yn *dda* am dano" gan yr hen bobl gynt oedd gyfystyr â "Dweyd y gwir am dano" genym ni.

Os collir y boreu ni ddelir mono cyn y nos.

Y meddwl yw, os collir y *dechreu*, ni ennillir mo hono cyn y *diwedd*. Felly oes dyn: "Da i wr ddwyn yr iau yn ei *ieuengctyd*." "Cofia yn awr dy Greawdwr yn nyddiau dy *ieuengctyd*, cyn dyfod y dyddiau blin."

Os cregyn fydd yn y sach, cregyn ddaw allan.

Os drwg cynt, gwaeth wedyn.

Os 'hedodd yr iâr, 'hwyrach na 'heda'r cywion.

"Os â'r fam drwy'r byd yn ddidramgwydd hwyrach nad â'r plant felly," ydyw'r addysg, mae'n debyg.

Os myn bol fwyd twymed bol fwyd.

Os na roddi beth ni chei ddim.

Os perchi fi, parcha fy nghi.

Y mae'r ci yn chwarae rhan bwysig yn ein llenyddiaeth werinol, ac nid rhyfedd hyny, oblegid efe yw y callaf a'r mwyaf synwyrol o'r holl greaduriaid direswm, fel eu gelwir. Oddiwrth agwedd ofnus ci crynedig yn ymgreinio wrth draed ei feistr rhag ei ffangell y caed y gair *addoli*, ebai Dr. Adam Clarke. Ceir hefyd ei fod yn gyfaill i ddyn er yn foreu iawn, a cheir ôl ei bresenoldeb mewn aml fwth cyn-hanesiol, a thebygol iddo fod yn wrthddrych addoliad ein cyn-dadau—blaenoriaid llechres amser. Ffurf anifeilaidd geir ar dduwiau'r cynfyd braidd yn ddieithriad.

Os rhoddi goel ti gei goel.

O Sul i Sul yr â'r forwyn yn wrach.

Yn hen ac i edrych yn ddrwg.

O ychydig daw llawer.

## P.

Padera yn nghylch yr un peth.

Pa faint yw dy oed? Ateb,—Yr un oed a bawd fy nhroed, a thipyn bach hŷn na nannedd.

Paid a dwnad.

Dywediad wrth blentyn pan y byddo yn gwneyd cryn lawer o swn. Bu yr hen air yn cael ei ddefnyddio gynt am ramadeg.

Paid dangos dy geiliog ar y gwlaw.

Palu celwydd.

Pan y b'o'n bwrw potes byddaf heb ddim picyn.

Pan b'o'r defaid yn gorwedd yw'r adeg i wau.

Y *gorwedd* yn y dywediad yw yr adeg y byddys yn *cneifio* y *defaid*, er mwyn cael eu gwlân i wneyd *edafedd* i allu *gwau*. Fel yna ceir gwirionedd y dywediad yn eglur; oblegid heb gael y defaid i orwedd nis gellir eu cneifio, a'r canlyniad fydd nas gellir *gwau*.

Pan ddelo tlodi i fewn trwy y drws, aiff cariad allan trwy y ffenestr.

Yr ystyr yw nad ydyw cariad yn hoffi *tlodi*, ac am hyny nid yw am droedio yr un llwybr ag ef. Pe daethai tlodi i fewn trwy y *ffenestr*, fe aethai cariad allan trwy y *drws*.

Pan feth nerth rhaid defnyddio dyfais.

Pan b'o y frân yn ymolchi, bydd y maban yn rhynu.

Pan gilith y byd, fe gilith y bobol; pan welith y byd, fe welith y bobol.

Y meddwl yw, pan gilio cyfoeth, fe gilia cyfeillion; pan welir cyfoeth, fe welir cyfeillion. Gwelir drwy'r dywediad cynnwysfawr hwn, fod dynion i'w cael sydd yn debyg i gwn, ni waeth gan gi law pwy i'w llyfu os bydd caws ynddi. Llafar gwerin ydyw *gilith* a *gwelith*. Mewn rhai parthau, *ff* a roddir yn lle *th*, sef gili*ff* a gweli*ff*.

Pan gyll y call fe gyll yn mhell.

Pan mae'r gath oddicartref mae'r llygod yn chwareu.

Parchwn ein gilydd.

Pawb a chwennych anrhydedd.

Pawb a'i bwmp i benbwl.

Pawb a'i chwedl gantho.

Un yn dweyd y peth hyn, a'r llall yn dweyd y peth arall, a'r rhan liosocaf yn dweyd pobpeth.

Pawb a'i fys lle b'o'i ddolur.

Pawb am daflu ei bwn draw.

Pawb ar eu rhwyfau.

Ystyr pwyntiol yr hen air yna yw, mewn ffurf arall, "Meindied pawb ei fusnes ei hun." Nid benthyca rhwyfau rhai ereill, ond defnyddio yr eiddynt eu hunain, ac ymddibynu arnynt hwy yn hollol.

Pawb ato ei hun.

Pawb at y peth y b'o.

Defnyddir yr ymadrodd i nodi addasrwydd a chymhwysder i lenwi lleoedd neillduol, a byddai yn burion rhoddi mwy o ystyriaeth iddo.

Pawb drosto ei hun, a Duw dros bawb.

Pawb ei siawns a minau fy lwc.

Pe b'ai pawb yn ddewin nid âi neb yn furgun. Pe b'ai pawb yn furgun nid âi neb yn ddewin.

Pechod, po hynaf cryfaf fydd.

Pedwar aelod a phen.

Pellen ddiffyg.

Meddylier fod gan un bellen o edafedd wrth law, ond nad yw y defnydd yn hollol foddhaol, naill ai yn ei *ansawdd* ai yn ei *liw*, dodir y bellen o'r neilldu, gan fod pellenau gwell yn barod; ond yn niffyg ei *gwell*, defnyddir yr wrthodedig; dyna beth ydyw *pellen ddiffyg*.

Pen fel meipen.

Penog gyda phwn dŷr asgwrn cefn ceffyl.

Pen punt a chynffon ddimai. Hefyd, Cynffon bunt a phen dimai.

Sef gwyneb a gwrthwyneb, yn golygu esgeiriau *annghyfunhyd*, sef annghyfartaledd y naill beth ar beth arall; hyny yw, *annghydweddiad ffurf* unrhyw beth.

Perchen pwyll pell ei olwg.

Pesychu fel ceffyl.

Peth mawr yw cael dant i attal tafod.

Pigog fel draenog.

Yr anhydrin.

Pigo'r bwyd fel iâr.

Y diarchwaeth.

Piso fel gwningen.

Yn dra mynych.

Plentyn dyrys a wna wr da.

Pleser bŷr a bair hir ofid.

Pluen yn ei gap.

Dywediad am weithred yn cael ei hystyried yn deilwng o ganmoliaeth—deilliedig, fel yr ymddengys, oddiwrth arfer yn mysg hen ryfelwyr ag oedd wedi enwogi eu hunain mewn brwydrau.

Plyger y pren pan yn gangen.

Plygu yn isel tyfu yn uchel.

Pob copa walltog.

Pob cyffelyb-ymgais.

Yr un ystyr y sydd i'r geiriau hyn ag sydd i "Adar o'r *unlliw* a hedant i'r *unlle*," sef "pob rhyw at ei *gydryw*.

Pob diwrnod drosto ei hun. Hefyd, Pob diwrnod ei ddrwg ei hun.—Biblaidd.

Pob edn a edwyn ei gymhar.

Pob gwrach ŵyr ei chyflwr. Hefyd, Pob gwrach yn dy gyflwr.

Tra rhywun meddiannol ar lawnder o bethau'r byd yn cwyno, dodir iddo fath o sèn-gerydd yn herwydd ei rwgnachrwydd diachos, drwy y geiriau crybwylledig. Y meddwl yw, dymuno i bob gwrâch fod yn *nghyflwr* y cwynwr yr oedd

amgylchiadau da y byd hwn yn eiddo iddo, yr hyn oedd yn edliwiad llym iddo am ei *gwyno* ef.

Pob math o fwyd gaiff ei fwyta.

Am nad yw pob taflod genau yr un archwaeth.

Pob peth a ddyry dyn am ei einioes—Biblaidd.

Pob peth a geir ond eir ag e.

Pob peth i'w berwyl.

Pob peth yn ei amser.

Pob un a dry y dw'r at ei felin ei hun.

Pob un a ŵyr gwlwm ei gwd ei hun.

Pob un a ŵyr pa le y gwasga'r esgid.

Po decaf y chwareu goreu fydd peidio.

Po decaf y sidan, amlycaf y 'staen.

Cynnrychiola *sidan* y *cymmeriad*, a'r *teg*, *lendid*, a'r *ystaen* a olyga *gamwedd*. Yr ystyr ydyw, po *lanaf* y byddo y *cymmeriad*, *butraf* y bydd y *camwedd*.

Po dicaf y ceiliog, cyntaf y cân.

Po dyhira'r dyn, goreu'i lwc. Hefyd, Po sala'r dyn goreu'i lwc.

Po dywyllaf y nos, agosaf y wawr.

Po ddyfnaf yr haen, caletaf y gareg.

Poen neu gric.

Poeri am ben ei fretyn ei hun.

Diraddio perthynas.

Po fwyaf drinir ar faw, butraf yr â.

Po hiraf y dydd byraf y nos.

Po hwyaf byddo dyn byw, mwyaf wêl a mwyaf glyw.

Po hynaf, ynfytaf.

Po lleiaf y disgwyliad, mwyaf y derbyniad.

Po mwyaf y brys, mwyaf y rhwystr.

Po mwyaf y dyn, mwyaf y codwm.

Po mwyaf y llanw, mwyaf y trai.

Po mwyaf y pechod, lleiaf y bai.

Po oreu y diwrnod, goreu y gwaith.

Porchell o'th hwch dy hun.

**Priodola llên gwerin i'r cyfryw ddywediad ddyfod i arferiad, drwy i ddynes nad ystyrid ei bod yn "llawn llathen" ddal "mochyn bach" o eiddo Person Clynnog, a myned ag ef iddo, gan ddyweyd "Hwda borchell o'th hwch dy hun."**

Pori o bobtu'r polyn. Hefyd, Pori o ddeutu'r clawdd.

Po tecaf y chwareu, goreu fydd peidio.

Po tynaf y tenyn, cyntaf y tŷr.

Po waethaf y plentyn, mwyaf gofal y fam.

Prifio fel cyw gŵydd.

Prinach na grâs mewn beili.

Priodi drwy'r berth.

Pryn ddafad—pryn dwca, er hyny pryn ddafad.

**Dichon mai yr ystyr yw, prynu dafad pe na phrynid twca, gan fod ereill â thwca ganddynt i ladd ei ddafad at ei wasanaeth.**

Pryn hen, pryn eilwaith ; pryn newydd, fe bery beth.

Prynu blawd a'i bobi'n gri.

**Teuluyddiaeth ddi-drefn—gwastraffu—colledu.**

Prynu câth mewn cwd.

**Os siomir dyn yn yr hyn a bryn, ac iddo fod mewn edifeirwch am hyny, arfera ddyweyd am wrthddrych ei siomedigaeth, "'Prynu câth mewn cwd,' a wnaethum." Prynu peth heb ei weled yw ystyr "Prynu câth mewn *cwd*." Gellir cael esboniad ar hyn yn Luc xiv. 18 a 19, lle ceir gweled un yn prynu *tyddyn* heb ei *weled*, a'r llall yn prynu pum iau o ychain heb eu *profi*. Y mae yr un a briododd wraig yn yr adnod 20fed yn fwy esgusodol.**

Prynu crib bras. Hefyd, Wedi cael crib bras.

**Priodi gwraig anynad.**

Pryn y peth rhâd, a gweri dy 'stâd.

Prysur heb ddiolch.

Pwy f'asa'n meddwl !

**Weithiau'n llon ac weithiau'n brudd, weithiau o foddhad ac weithiau o dosturi, ond bob amser gyda graddau o siom a syndod, y defnyddir yr ymadrodd "*Pwy fasa'n meddwl.*"**

Pwy ond y fo!

Y parod i ddangos ei hun, tra gweddusach iddo ymguddio.

Pwyso ar ei ffidil. Hefyd, Pwyso ar ei wynt.

Pwyth mewn pryd arbeda naw.

Pyst dan yr haul.

Math o sèn-ddigrifwch i weithwyr f'o'n digwydd sefyll megis yn lled ddiofal ar gefn cynhauaf gwair neu ŷd, ydyw, "Mae pyst dan yr haul, daw yn wlaw yn fuan," gan gymhwyso yr arwydd sicr a buan y bydd gwlaw yn agos pan byddo "Pyst dan yr haul" at "*Segurwyr* dan yr haul."

## R.

Rhad arno.

Rhad ar y dâ.

Yr un ystyr sydd i'r "Rhad ar y dâ" ag i "Rhwydd-deb ar y dâ" mewn cystrawen wahanol.

Rhad Duw ar y gwaith.

Rhad ydyw addaw.

Rhad yn dy gylch!

"Llawer o'r geiriau a arferir yn yr athrawiaeth Gristionogol ydynt o'r iaith Ladin. Ac yn eu mysg gras—yn Lladin *Gratia*. Y Cymry ar y cyntaf a'u galwasant Rhat; ac o'r diwedd Rhad. Am y gair Gras, fe'i cymmerwyd oddiwrth y Saeson, y rhai a'u galwasant *Grace!* Eithr Rhad yw'r priodol air Cymraeg."

Rhag anwyd ni weryd canwyll.

Rhag angau ni thycia ffo.

Rhaib yr angau.

Rhaid bod yn gynnil cyn bod yn hael.

Rhaid bwyta'r menyn ag un dant.

Rhaid cael dau cyn ffraeo.

Rhaid cael genau glân i oganu.

Rhaid cael lliw cyn llifo.

Rhaid codi y rhesel arno.

Dywediad pan byddo dyn fel anifail yn anhawdd ei drin—rhoi llai a salach bwyd iddo.

Rhaid cripian cyn cropian. Hefyd, Rhaid cropian cyn cerdded.

· Rhaid cymmeryd pawb fel y bo.

Rhaid enllyn da gyda bara llwyd.

Rhaid gwerthu lle bo prynu.

Rhaid i bob dyn fwyta hobaid o faw cyn marw.

Rhaid i bob segur gael rhywbeth i'w wneyd.

Rhaid i bob 'stwc sefyll ar ei wadnau ei hun.

Rhaid i ryw afr orwedd.

Rhaid rhoi'r gath ar ei ben.

Rhaid troi y tu min ato.

Rhaid tynu'r ewinedd o'r blew.

Rhan y ci a gysgo.

Rhan y gwas o gig yr iâr.

Crafu'r esgyrn, fel y crafa'r iâr y domen.

Rhed am dy fywyd!

Rhedeg fel ci wedi tori ei gynffon.

Rhedeg o'r gwlaw dan ffrwd y pistyll.

Rhedfa gyntaf ci.

Ni chospid yn herwydd trosedd amlwg cyntaf ci yn yr hen amser, megis lladd oen, dafad, &c., a daeth y dywediad i gysylltiad â phethau eraill o gyffelyb natur.

Rheffyn hir.

Rheffyn-pen-bawd. Hefyd, Tenyn-pen-bawd.

Rhegu fel câth.

Rhodresu fel iâr.

Rhoddi ei big i mewn.

Rhoes ei droed ar y gareg.

Hen werinair yn golygu sefydlogrwydd. Pan ddigwyddai i ddyn dieithr ddyfod i ardal i fyw, ac mai anhawdd ganddo symud i ardal arall, dywedid mai gwedi dodi ei droed ar ryw

gareg neillduol yn ddiarwybod iddo ei hun, yn y lle, y byddai, a dywedid am dano, "*Rhoes ei droed ar y gareg;*" hyny yw, y mae wedi *ymgartrefu*—yn sefydlog fel y gareg yn yr un man. Y mae un o'r cerig cyfareddol hyn yn gorwedd hyd heddyw yn Heol y Castell, ar gyfer y Tŷ Mawr a Shop y Groes, yn Nghriccieth—llecyn ag y mae wmbredd o gyfaredd wedi ei wau o'i gwmpas gan draddodiad a rhamant, yn nghydu llawer o hen olion ag sydd yn rhwym o greu dyddordeb i'r hynafiaethydd a'r hanesydd.

Rhoi cusan i'r fammaeth er mwyn y dyn bach.

Rhoi diwrnod i'r brenin.

Diwrnod *diwaith* mewn *segura ofer* ydyw ystyr yr hen ddywediad yna, a dim arall.

Rhoi 'i gorn dano.

Un yn gwneyd drwg i arall nes iddo golli ffafr neu ei fywoliaeth —bradwriaeth.

Rhoi 'i groen ar y pared.

Rhoi'r càr o flaen y ceffyl.

Rhoi'r chwip yn y rhesel.

Cymhelliad gwell bwyd i'r march.

Rhoi'r troed goreu yn mlaenaf.

Mae y naill droed i bawb yn well na'r llall. Y troed chwith yw y goreu gan un pan fydd eisiau *cicio rhywbeth*, tra y troed dehau yw y goreu gan fwyafrif o berchenogion *traed*. Er i *droed* gael ei enwi yn yr hen ddywediad, nid ydyw er hyny yn golygu yn llythyrenol y *troed dynol*. Wrth y *troed goreu* y golygir yr *elfen benaf* neu y *drefn oreu* i fod yn mlaenaf i ymgyrchu at yr hyn y byddys yn awyddus am *gyrchu* eto.

Rho lathen i Gymro, fe gymmer ddwy.

Rhowch y tlawd ar geffyl, ac fe'i gŷr i gythrwm!

Rhwng byw a marw.

Rhwng dau bared.

Unigrwydd llwyr—"Yn y tŷ heb neb ar ei gyfyl."

Rhwng dau dân.

Un fydd ganddo i wneyd â phleidiau gwrthwynebol a digofus.

Rhwng dau frawd.

Rhwng dau feddwl.—Biblaidd.

Rhwng dau oleu.
Rhwng difri a chwareu.
Rhwng dwy ystôl heb yr un.
Rhwng dyfn a bâs.
Rhwng y cwn a'r brain.
Rhwng y diawl a'i gynffon.
Rhwng y tân a'r pentan.
Rhwth yw bol y fammaeth.
Rhwyteb dda iddo, neu iddi.
Rhy dŷn a dŷr.
Rhy lawn a gyll.
Rhyna y maban lle todda y frân.
Rhy uchel a syrth.
Rhyw awdyd arno.
Rhyw rŷ ar bobpeth.
Yr anfoddog.

## S.

Sadwrn pwt, Sul wrth ei gwt.
Saeth i bob nod.
Sala'i mantell gwraig y gwŷdd: sala'i 'sgidiau gwraig y crydd.
Dwy ffaith yn egluro cybydd-dra y gw'ŷdd a'r crydd tuag at eu gwragedd, am nad oedd y naill i gael tâl am y fantell, na'r llall i gael tâl am yr esgidiau.
Sant ddydd Sul a chythraul ddydd Llun.
Sant i ffwrdd a chythraul gartref.
Sathru ar ben ei denyn.
Cyfyngu ar ryddid un.
Sefyll rhyngddo a'r garw.
Sefyll yn ddyn.
Gweithredu yn sefydlog a diwyrni.
Sefyll yn ei oleuni ei hun.

Sefyll yn ei rych ei hun.

Siamber sori.

Y mae'r term yma yn un cynnwysfawr, yn golygu un wedi *sori* yn myned i'w wely heb ei *swper*, neu yn gwrthod ei fwyd trwy fyned o'r tŷ i rywle arall.

Siarad di pan biso'r ŵydd !

Siarad fel melin wynt.

Sonir am rai yn siarad felly, yr hyn o'i ddeongli yw fod eu tafodau yn cael eu gyru gan y gwynt sydd yn eartrefu fry o dan y penglog.

Siarad fel twrne.

Sicra'r mur po arwa'r gareg.

Sieryd dynion byddar yn uchel.

Si lwli'r babi.

Math o suo-gân—llwlian, a arfera'r famaeth dan ysgwyd y naill ffordd a'r llall, i ddiddanu plentyn i hûn a hedd.

Sir dda imi wel.

Sir yw cysur, arlwy, lloniant, &c.

'Smonaeth yr iâr ddu, dodwy allan a ch—u yn tŷ.

Son am Awst wyliau'r Nadolig !

Chwedl wrachaidd.

Sonier am ddrwg, bydd yn agos.

Strapio'r walat.

Pan yn myned o'r naill le i'r llall i chwilio am waith.

Sugno'r gwaed fel gelen ddeuben, neu ddeudwll.

Nodwedd y sawl fyddo yn ofer fanteisio ar arall i'w golledu.

Sul teg, wythnos wlawog.

Swn gwâg.

Swper ysgafn—goreu cwsg—cinio trwm ac allan.

Sychu trwyn swch.

Symlen pen bawd.

Yr ystyr yw, *un fach ddiystyr*.

Symol iawn wir !

Sèn i'r anfedrus ; dro arall, dull-gwyno gan afiechyd.

Symud ei borfa.

Symud fel malwen.

Symudliw fel paun.

Synwyr y fawd.

Y meddwl a gyfleuir o *synwyr y fawd* ydyw *amcan penrhydd*, sef gwneuthur rhywbeth heb un cynllun, rheol na threfn.

Sythu yn y byd.

## T.

Tad y drwg.

Taer yw'r gwir am y goleu.

Tafl ag unllaw, casgl a'th ddwy.

Taflu arian i'r tân.

Taflu dw'r oer i'w wyneb.

Taflu careg i goelcerth.

Dynoda fod yn gyfranog mewn cweryl.

Tafod diog, synwyr bywiog.

Tafod hir, llaw fèr.

Tafod tewi yw'r tafod goreu.

Tair cynnysgaeth i'r oes a ddel,—adeiladu tai, planu coed, a magu plant.

Tair cynnysgaeth merch,—gwr o dymher hynaws, cartref cysurus, a llon'd tŷ o blant.

Tair gwledd iechyd,—llaeth, bara, a halen.

Tair melldith gwlad,—gwaseidd-dy menywod, cadw gŷr o helgwn, a graddio gormod o offeiriaid.

Tair oes mul.

Tair rhodd oreu i'r oes a ddel,—planu coed, gwellhau celfyddyd, a magu plant yn rhinweddol.

Tâl dy ddyled, yna cei wybod dy werth.

Talu'r echwyn adre.

Golyga ddwyn cydwerth yn ol o'r un peth. Mae gwahaniaeth rhwng rhoi benthyg peth a rhoi peth yn echwyn. Wrth roddi benthyg, disgwylir y peth ei hun yn ol.

Talu'r ffair ddiweddaf yn y Borth.

Peidio talu byth olygir.

Talu'r hen a dwyn y newydd.

Talu'r hen chwech.

Fel mae gwaethaf yr hanes, nid gydag ysbryd a llwydd goreu cymdeithas yr arferid "Talu yr hen chwech yn ol," ond mewn chwerwder yn herwydd hen gwerylon—drwy dal drwg am ddrwg, megis bradychu neu faeddu eu gilydd, mewn ffordd o ddathlu brwydr eu tadau fwy nag unwaith.

Talu i'w groen.

Talu y pwyth.

Ffurf ymadrodd wedi llithro o roddi a thalu anrhegion prioda y rhai a elwid *Pwyddion*. Hefyd, golyga y gosp a osodid a niwed i un arall, megis "llygad am lygad," &c.

Tamaid i aros pryd.

Tân araf dan uwd, tân llym dan lymru.

Taro diogi yn ei dalcen.

Taro'r hoel ar ei phen.

Taro'r post gael i'r pared glywed.

Taw a'i piau. Hefyd, Taw pia' hi.

Tebyg i ddyn fydd ei lwdn.

Teg pob chwedl heb wrthwyneb.

Tenyn yn mhen tenyn.

Er's oddeutu hanner canrif yn ol, ac yn mhellach, yr llawer yn ennill eu bywoliaeth wrth ffeirio hen geffylau am y llall, a "thipyn ar y ffair"; ond wedi methu "g dim o honi" ar hyd y ffair, byddent yn cerdded yn ol mlaen, gan floeddio "tenyn yn mhen tenyn," a'r hen ge druain, yn dilyn mewn hyd penffrwyn; a dyna olyg "tenyn yn mhen tenyn," yn ol ein haneswyr lleol, sef penffrwyn a cheffyl, yn ben-ben, am benffrwyn a cheffy Byddai y dosbarth yma o fargeinwyr yn cael cadw hen au "yn rhad ac am ddim," gan fawrion y tir, mewn a lleoedd anhygyrch, a rhwng hyny a "mân gelwy byddent "yn gwneyd bywoliaeth go lew." Ffeiriau oedd ffeiriau ceffylau gynt, ac amser gyru eidionau pedoli i Lundain.

L

Tewach gwaed na dw'r.

Y mae gosail y dywediad hwn yn annghywir trwy ddweyd fod gwaed yn *dewach* na dw'r. *Teneuach* ydyw, a dyna yr achos ei fod yn *cochi* dwfr. Pe'n dewach, aethai i'r gwaelod fel careg. Modd bynag, yr addysg sydd yn gyfystyr â "Nes *penelin* nag *arddwrn*."

Tew fel mochyn.

Tincwd wedi myn'd yn bencwd.

Tingc y dywarchen.

Argoel fod rhywun fyddo dan bwys gwendidau afiechyd neu henaint yn graddol nesau tua'r bedd.

Tin-droi yn yr un fàn o hyd.

Tinddu ebai'r frân wrth y wylan, a hithau'n ddu i gyd ei hunan.

Tithfa hwch.

Toc a da.

Tori ei drwyn i ddial ar ei wyneb.

Tori ei frig.

Tori ei *werth*—lladd yr amcan—difodi yr ymgais, &c.

Tori ei grib.

Ei ddarostwng, ac heblaw hyny ei orchfygu mewn hunanfost o'i eiddo ei hun, mewn dadl neu rywbeth arall.

Tori fy mhen a rhoddi imi eli.

Tori iâs y gwellaif.

Tori pen, tori ammod.

Tori pen y brenin.

Pan ddigwyddo i'r annghelfydd ddiffoddi'r ganwyll wrth geisio tori ei phen.

Tori'r garw. Hefyd, Tori'r iâs.

Meddwl "Tori'r garw" a "Tori'r iâs" ydyw fod gan ddyn rhyw orchwyl neu lawer o waith o'i flaen i'w wneyd y diwrnod dilynol, ei fod yn ymroi yn y boreu i wneyd y rhan fwyaf o hono cyn canol y dydd, yr hyn iddo oedd yn "Dori'r *garw*" ac yn "Dori'r *ias*," am fod y rhan fwyaf o'i waith *wedi* ei wneyd, fel na byddai y gweddill nac yn *arw* nac yn *ias* iddo wedi hyny.

Trechaf treisied, gwanaf gwaedded.

Trech dwy wrach nag un.

Trech gwlad nag arglwydd.

Diareb sydd wedi hen arfer profi ei hun yn ddisigl.

Trech llafur na direidi.

Trech natur na dysgeidiaeth.

Tri enllyn afiechyd,—cig, cwrw, ac aesel (sef gwin sur).

Tri enllyn iechyd,—mêl, ymenyn, a llaeth.

Tri harddwch gwlad,—ysgubor, gefail, ac ysgol.

*Trimmings* at y brethyn.

Trin y dreth.

Tri pheth anhawdd eu cael,—tri heliwr di frol, tri theiliwr di siongc, tri melinydd gonest, tri gof disyched.

Tri pheth anhawdd eu gweled yn symud,—y lleuad, ychain Madryn yn aredig, a labrwr yn dyfod o nol bwyd.

Tri pheth annghymmwys iawn,—hwch mewn haidd, chwanen mewn gwely, a balchder lle b'o dlodi.

Tri pheth melldigedig y neb a'u symudo,—ffin tir, hynt dwfr, ac arwydd ffordd ac arllwybr.

Tri pheth nad ellir ymddiried ynddynt,—iechyd i hen, hindda y gauaf, a diwydrwydd arglwydd.

Tri pheth wna i ddyn gael oes hir,—blithfwyd, garddfwyd, a chysgu ar wely caled.

Tri salwch di-gŵyn,—yr anwyd bob yn ronyn, poen yn y ddant, a phen-ddüyn.

Trist pob galarus.

Troedwas gwisgi yw ystori gelwyddog.

Tro Gwyddelig.

Yr ydym yn hen gydnabyddus â'r geiriad yna fel yn gyfystyr â thro brwnt a bradwrus. Nis gwyddom pa bryd y bathwyd y geiriad, na pha beth a roes achlysur i hyny. Heb fyned yn fanwl i fewn i'r gofyniad, ymddengys ei fod yn adlewyrchu yn

anffafriol ar onestrwydd a didwylledd ein cymmydogion yn yr Ynys Werdd. Dichon fod y rhan liosocaf o honom, wedi ein dwyn i fyny yn swn y geiriau ac o dan ddylanwad yr hyn a gynnwysant, wedi arfer edrych yn amheus os nad yn gilwgus ar y Gwyddelod fel cyfangorff.

Troi ar ei golyn.

Troi ar ei sawdl.

Troi dalen newydd.

Troi fel bêr.

Bêr yw llafn hir a roddid trwy ŵydd, twrci, neu ddryll o gig, &c., i'w rhostio mewn bonet *din* o flaen y tân, yr hwn a *droid* gan *Jack* yn y simdde gan drês oddiwrtho at y *ber*. Oddiwrth hyn y daeth *Troi fel ber*. Nid oes dim can' mlynedd er pan ddefnyddiai'r coginydd gi bach i droi'r bêr; ond nid ymhoffai'r ci yn y gwaith, am hyny rhedai i golli'n swta pan y dechreuid ar y parotoadau, a llawer cynllun oedd ganddo i geisio osgoi ei wasanaeth fel berdroydd. Erbyn heddyw mae'r ci wedi hen ddiflanu.

Troi fel cwpan yn dw'r.

Troi fel chwyrligwgan.

Troi o gwmpas fel pry'r ganwyll.

Troi pen arni. Hefyd, Troi pen ar y 'stori.

Troi'r gath yn yr haul.

*Bol-heulo* yw ystyr y dywediad hwn, yr hyn sydd yn reddfol, nid yn unig i *gath*, ond hefyd i *gi*, *mochyn*, *buwch*, &c., ar adlewyrchiad haul ar ol tymhestl.

Troi'r geiniog.

Ystyr yr hen air "Troi'r geiniog" ydyw y byddai iddi esgor ar ambell ffyrling chwanegol wrth gael cymdeithasu â mwy o'i thebyg, a'i threiglo yn amlach.

Troi y dwfr at ei felin ei hun.

Troi yn ei garn.

Troi yn ei groen fel dyfrgi.

Y cnaf, pan ddalier, yn ei ddeheurwydd i ymgadw ac i ymryddhau o'r afael.

Troi y tu minato.

Arfer llymder ymddygiad.

Tro'r fuwch.

Y meddwl yw, fod tro yn dyfod i'r *annhebygol* ragori ar y *tebygol*. Hefyd, arferir y dywediad am droad sydyn mewn ffordd.

Trwy ddilyn yr afon fe ddeuir i'r môr.

Trwy faw mae trin y byd.

Trwyn sur.

Trydydd troed i hen ei ffon.

Tryfer a genwair a gwn wna ŵr cyfoethog yn ŵr llwm.

Twyll drwy ymddiried, mae hyny'n waeth na dim.

Tŷ myglyd, gwraig ringclyd.

Tynu ciprys.

Tynu drwg i'w nyth.

Tynu ei gorn i mewn fel malwen.

Tynu llaw hyd ben ci brathog.

Tynu'r byra'i docyn.

Hen ddull Cymreig o fwrw coelbren—*drawing the lot*—tocyn o wellt anghyfunhyd—a'r sawl dynai y byraf o'r tocyn fyddai y dyn ffodus. Dull arall,—"Dewis, dewis dau ddwrn, dewis un a dewis hwn."

Tynu'r ewinedd o'r blew.

Ymroi at orchwyl o ddifrif calon.

Tynu'r gath gerfydd ei chynffon.

Tynu'r geirchen o dwll y pared.

Tynu torch. Hefyd, Tynu torch am dano.

Mae hen feirdd y Cymry yn cyfeirio yn fynych at yr arferiad o fod eu pendefigion yn gwisgo addurniadau a elwid *Torchau Aur*; ac oddiwrth y torchau hyny, meddir, y mae diareb arferedig yn ein mysg hyd heddyw:—"Mi a dynaf y dorch â thi," gan ddynodi ymdrechu yn egniol am ryw gampwri.

Tywallt ei gwd.

Y chwedleugar, yr hwn a arfera gludo pob 'stori a allo gael i'w hadrodd wrth y sawl a ddisgwylia les oddiwrthi, neu ddrwg i arall, ac yn fynych pob un o'r ddau.

Tywydd teg ar ei ol.

## U.

Un ai nag ai neges.

Un drwg a lygra gant. Hefyd, Un ddafad ddrwg a lygra gant.

Un law ar dân, cant ar wlân.

Un o blant yr ho, ho.

Yr unig blentyn, ac yn cael ei alw felly, meddir, am y dywedir "ho, ho," fel atebiad, ar ol cael gwybod faint o blant fyddai gan rywun; gan ystyried na byddai fawr o drafferth magu can lleied a hyny.

Un peth yw dweyd peth arall yw gwneyd.

Unwaith y gwnaethost, canwaith y bydd edifar genyt.

Unwaith yn ddyn, dwywaith yn blentyn.

Unwaith yn offeiriad, hyd angau yn offeiriad.

Hen ddywediad a ddefnyddir i gorffoli y ffolineb o oddef dyn mewn swydd neu alwedigaeth am oes, wedi cael profion afrifed nad yw yn medru nac yn rhoi ei fryd ar ei chyflawni.

Unwaith yn y pedwar amser.

Pedwar tymhor y flwyddyn, sef y *gauaf*, y *gwanwyn*, yr *haf*, a'r *cynhauaf*.

Un wennol ni wna wanwyn.

Un ysgwydd ddrwg.

Un o'r teulu olygir yma.

Uwch na chyffredin.

Uwch pen na dwy ysgwydd.

## W.

Wedi cael anwyd.

Wedi cael asgwrn i'w gnoi.

Wedi cael cawell.

Hen arferiad ydyw myned i dai yn y nos i garu; eithr pan y metha rhywun gael derbyniad, dywedir ei fod "wedi cael cawell." Nid *basket* neu *hamper* olygir wrth *gawell* yma, ond

*quiver*, yr hwn yn Gymraeg yw *cawell-saethu* neu *saeth-gawell*, am mai mewn *cawell* y cedwid *saethau* bwâau yr hen Gymry wrth ryfela ; felly yma, nid y *cawell* ond y *saeth* a olygir yn picellu y *carwr* wrth gael ei wrthod gan y *feinwen*.

Wedi cael llon'd ei grochan.

Wedi cael llosgi ei fys.

Ei dwyllo gan gyfaill o ymddiried.

Wedi cau pen ei fwdwl.

Ar ben ei ddigon.

Wedi cymmeryd y carnau—y goes—y traed.

Diangc—yr euog yn ffoi.

Wedi cynnefino â baw yn ei gap.

Wedi chwythu i'w glust o.

Golyga fod un wedi ei ennill drosodd yn gwbl yn mhlaid ac yn ffafr ei ddewis ddyn—deilliedig, efallai, oddiwrth gyfathrach cywely (*bedfellow*)—yn anadlu cyfrinion a sibrydion serch ac ymddiriedaeth, i glust a chalon ennillwyd.

Wedi darfod am dano.

Wedi darfod malu arno.

Wedi dyfod yn llawn llythyr.

Un wedi dyfod ar neges oddiwrth arall mewn achos gwladaidd neu deuluaidd—un ag y gellid ymddiried i'w genadwri, hyd y gellid ei gael, bob amser. Yn fwyaf cyffredin bachgen mewn oedran diogel—yn meddu ar eiriau taclus eu plethiad gyda gradd helaeth o ofal, a chwpan ei bryder yn llawn hyd yr ymylon, a anfonid—yn fwy felly, yn fynych, hyd y nod, na'r angenrhaid.

Wedi ei eni â llwy arian yn ei geg.

Wedi ei eni i fod yn wr boneddig.

Un ag y dywedir fod Rhagluniaeth wedi gwneuthur camsyniad na buasai wedi darparu cyfoeth ar ei gyfer.

Wedi ei ladd.

Wedi ei lygad-dynu.

Darllener y drydedd benned at y Galatiaid, a cheir esboniad ar "Lygad-dynu," lle y dywedir, "O, y Galatiaid ynfyd, pwy a'ch llygad-dynodd," &c., sef eu *camarwain*, neu eu *hud-ddenu* oddiwrth y gwirionedd.

Wedi estyn ei goes.

Wedi marw.

Wedi hanner ei grasu.

*Penfeddalwch* yw y syniad, fel y mae ŷd heb ei grasu gan wres y cynhauaf, neu dorth o fara heb ei chrasu mewn ffwrn, yn feddal a diflas, felly y dyn *hannerog* o synwyr.

Wedi hau gwynt rhaid medi corwynt.

Wedi lladd fy hun a'm ceffyl hefyd.

Wedi llyngcu mul.

Y mae llawer o bethau ar yr olwg gyntaf yn anhawdd eu dirnad; felly, gall llawer fethu canfod pa fodd y bu i'r creadur o *ful* gael ei lyngcu, a pha beth a'i llyngcodd. Edrydd traddodiad mai Cymro hen ffasiwn tra ar ei daith gyda'i ful a'i gwerthodd, ac a gymerth yr arian a dderbyniodd am dano i dafarndy cysurus, gan brynu â hwynt sudd yr heidden, yr hwn a lyngcodd efe yn llwyr. Wedi hyny, rhoddes tafod y bobl droad dychymmygol i'r mynegiad, gan gymhwyso nwyd gyndyn ac ystyfnig y mul at bobl agored i lithro, a hyny yn rhy fynych, i gyflwr go-gyffelyb i'r eiddo yntau—y mul.

Wedi myn'd dros ben llestri.

Broddeg gyffredin ac eglur o ran geiriau yw hon, ond tywyll o ran achlysur ei tharddiad—deilliedig, efallai, am rhyw reswm anhysbys i bawb yn awr; felly, yn arwain ein meddwl drwy yr hyn a wyddom at yr hyn ni wyddom. Fodd bynag, yn ystyr ymarferol llafar, golyga ddynsawd elai yn orphwyll oddiwrth blisgyn o achos, gan luchio pobpeth o'i gwmpas yn driphlith-draphlith draws eu gilydd, nes anmharu pob gweddusrwydd a hawliau cysur agos ato ar y pryd.

Wedi myn'd dros gof.

Wedi myn'd heb wely dano.

Wedi myn'd hyd at y coed.

Wedi myn'd i ben y gorllan.

Wedi myn'd i din-y-gler.

Wedi myn'd i'r clawdd.

Wedi myn'd i'r gwellt.

Dywediadau ereill o'r un ystyr yw "Wedi myn'd i'r *niwl*," "Wedi myn'd a'i ben *iddo*," &c. Cynnrychioli *clindarddach*

a wna *gwellt ; aneglurder* a wna *niwl ; a defni* a wna *a'i ben iddo. Darfod mewn mwg* y sy ddywediad arall o'r un ystyr, sef *colli unrhyw gynnygiad.*

Wedi myn'd i'r pot.

Yr ystyr yw, *myned i'r pen,* neu i'w *ddiwedd,* ond anhawdd gwybod beth a'i tarddodd, os nad oddiwrth yr arferiad boreu o ddodi cyrff y meirw mewn llestri pridd i'w claddu.

Wedi myn'd i'w esgidiau.

Ymgymmeryd â chyfrifoldeb dyn arall.

Wedi myn'd o'i boen.

Wedi marw.

Wedi myn'd yn draed moch arno.

Ystyr *traed moch* yma yw *traed budr,* am fod *moch* y creaduriaid mwyaf awyddus am y *dom,* fel y sonia ysbrydoliaeth eu bod "fel yr *hwch* wedi ei golchi yn myned i'w *hymdreiglfa yn y dom.*" Gan hyny, yr ystyr o *draed moch* ydyw *rhodio yn fudr ac annrhefnus.* Eto, ymddengys fod moch yn llanw cylch eang a phwysig mewn hen lenyddiaeth, ac yn cael eu defnyddio i gysgodi neu ddynodi rhyw gymmeriadau neillduol. Gelwir gwŷr Mon a Phenfro yn foch ; ond paham sydd anhysbys, mor bell ag y mae a fyno â chywirdeb hanes.

Wedi myn'd yn deilchion.

Hyny yw, yn siwrwd mân.

Wedi myn'd yn dyndir glân.

Wedi myn'd yn foed.

Myn'd yn ofer. Llygriad yw *foed* o *void,* yn ddiau.

Wedi myn'd yn gandryll.

Wedi myn'd yn hwi rhed.

Wedi myn'd yn llynfas.

Wedi myn'd yn Rolant glân.

Wedi rhoi y ffidil yn y tô.

Tô gwellt isel heb lofft oedd i deios diaddurn yr oesoedd hygoelus gynt, felly yn y tô y cedwid bron yr oll o bethenach pobl hen ffasiwn y dyddiau fu. "Rhoi'r gân yn y god" sydd yr un ystyr a "Rhoi y ffidil yn y tô"; a'r un addysg a geir yn y naill a'r llall ag a geir yn Salm cxxxvii 2: "Ar yr helyg y crogasom ein telynau." Darllener y Salm. Yn fyr, bod yn alaethus ddistaw yw *cnewull* y ddiareb.

**Wedi syrthio i'r ffos.**

**Wedi tori cynffon ei gi.**

Y cymhwysiad yw, tori ei gymmeriad ei hun. Am un a fyddo yn hoff o adrodd ffaeleddau ereill y cymhwysir y ddiareb, sef "y mae yntau wedi tori cynffon ei gi." Hyny yw, y mae yntau wedi *colli* ei gymmeriad.

**Wedi troi yn ei gogwrn.**

*Cogwrn* yw *cnap*, *cnwc*, *cwgn*, ac *oddfyn*; sef *knob* a *knur* y Saesneg. Y *cogwrn* yma yw y *penglog*. Yr ystyr yw, "Wedi troi yn ei *benglog*."

**Weithiau i lawr ac weithiau i fyny.**

Y mae arferiadau a ffasiynau dynion yn newid fel y dail ar y gangen—rhai yn myned, ac eraill yn dyfod.

**Weithiau'n iâr ac weithiau'n geiliog.**

Iechyd ansefydlog yn peri gwahaniaeth ysbryd.

**Wel haf ati!**

**Welir mo werth y ffynnon nes elo'n hesp.**

**Welwch chwi fi?**

Yr hunanol.

**Well-well eiriau—gwaeth fywyd.**

**Wrth dir llafur y mae'r brenin yn byw.**

**Wrth gripio a brathu bydd cariad yn magu.**

**Wyneb llawen, calon iach.**

**Wyneb-yn-wyneb.**

Diareb Ddwyreiniol. Ac fel Dwyreinwyr, yr oedd y ddiareb hon ar dafod leferydd yr ysgrifenwyr ysbrydoledig.

**Wythnos gwas newydd.**

Rhywbeth tebyg mewn ystyr i'r hen air "Ysgub newydd ysguba'n lân." Fel y mae mwy o sylw yn cael ei roddi ar ysgub *newydd* nag ar *hen* ysgub, felly mae mwy o ofal, gwylio, a chroesawu ar "Wythnos gwas newydd." Mewn ystyr, y *ddau* hyn, *un* ydynt.

**Wy yn y nyth.**

*Addod* a olygir yma, yr hyn a ddena yr un a ddodwyodd yr *wy* i ddodwy chwaneg. Pe cymmerid yr ŵy o'r nyth, ataliai hyny berchen y nyth rhag dodwy chwaneg o wyau ynddo.

# Y.

Y blwydd yn lladd y dwyflwydd.

Hen chwedl a ddywed fod y llyffant blwydd yn arferol o ladd y llyffant dwyflwydd. Dealla'r werin mai dyna arfer y llyffaint i ddinystrio eu rhyw. Os nad yw hyny yn ffaith lythyrenol, gesyd allan egwyddor go gyrhaedd-bell yn holl gyssylltiadau bywyd. Felly yr arferir yr ymadrodd pan yr ieuangc yn gyru pobl yn hen, a'r hen i ffwrdd yr holl ddaear.

Y bol yn curo'r cefn.

Sèn i'r glwth cefnllwm.

Y budd yn lladd y lludded.

Y call a feddwl cyn siarad, y ffol a siarada cyn meddwl.

Y call a lwydda.

Y carchar goreu yw carchar bwyd.

Bwyd i anifail.

Y ci mwyaf ofnus gyfartha fwyaf.

Y ci olaf gaiff yr asgwrn.

Y cyntaf i'r felin gaiff falu.

Y cysgadur, cais godi.

Y cyw a fegir yn uffern, yn uffern mŷn fod.

Yn nghelloedd arferion y gorphenol, mewn tai, yn agos i'r pentan neu rhywle tan fantell y simdde, byddai twll lle byddid yn cadw llych-garpiau a chlytiau esgidiau, yr hwn, o herwydd ei boethder, a elwid *uffern*. Mae'n hysbys i bawb a ŵyr rhyw faint am fagu cywion dofednod fod pedair awr ar hugain o wahaniaeth, mwy neu lai, rhwng y cyntaf ddeorir a'r cyw melyn olaf. Mae'r cyntaf yn barod i redeg oddi amgylch i hel ei damaid cyn b'o'r olaf wedi tori'r pliagyn, ac yn gyffredin mae'r hen iâr yn barod i ochri gyda'r cynnaraf, a gadael i'r diweddaraf gymmeryd ei siawns. O ganlyniad, mae gwraig y tŷ yn gorfod gofalu am y gwàn drwy ei borthi a'i orchuddio â chadachau, a'i roddi yn y twll ger y tân a elwid uffern. O dipyn i beth cynnyddodd y bychan, ond nid oedd dim a wnelai â'r cywion ereill—gwell oedd ganddo ef ei gartref cynhes, cysurus, ar yr aelwyd. Dyna, yn debygol, yw meddwl yr hen ddywediad, "Y cyw a fegir yn uffern, yn uffern mŷn fod."

Y crochan yn dannod i'r pentan.

Ychydig ŵyr y ci llawn am gyfarthiad y ci gwâg.

Ychydig yn aml a wna lawer.

Y diawl yn gwel'd bai ar bechod.

Y dillad yw'r dyn, a'r dyn ydyw'r truan.

Y diwyd a lwydda.

Y dringwr goreu wrth fôn y pren.

Y ddau tu i'r ddalen.

Y fawnog a farn.

Yr addysg a geir oddiwrth y ddammeg yna yw mai *gwaith ysgafn* yr ystyrid bron bob gwaith mewn cyferbyniad i dori mawn, a'r prawf o hyny oedd "*Y fawnog a farn.*" Y fawnog, felly, oedd i roddi ei dyfarniad ar waith gweision ffermydd eu bod yn gweithio yn *rhagorol.*

Yfed fel ŷch.

Y frech wen unwaith : y frech goch ganwaith.

Y fuwch frefo fwyaf ar ol ei llo a ofyn darw gyntaf.

Y gair garw yn mlaen.

Y gwanaf i'r wàl. Hefyd, Y gwan sy'n gwingo.

Y gwir a fŷn ei le. Hefyd, Y gwir sy'n lladd.

Y gwybedyn ysgafnaf ehed uchaf.

Y llaw a rydd a gynnull.

Y llydan a wisga, ond y tŷn a rwyga.

Y mae dysg o fedydd hyd fedd.

Y mae hi yno fo.

Mynych y clywir y sylw yn cael ei wneyd am fachgen cyflym ei ddealltwriaeth. Rhywbeth tebyg yw yr ystyr i'r hen ddywediad "Y mae yn nhoriad ei fogail," neu i'r ddiareb, "Moch dysg nawf mab hwyad," sef *buan* y dysg mab hwyad nofio. Nid ymddengys fod cyw hwyaden yn teimlo unrhyw bryder na phetrusdod i fyned i'r dwfr cyntaf y daw o hyd iddo ar ol dydd y deoriad. O ran cymhwysder fel nofiwr gall gystadlu â'i fam a'i dad y diwrnod cyntaf.

Y mae hyny yn y canu.

Pan b'o rhywbeth yn debyg o gael ei annghofio mewn mater o dipyn o bwys, clywir un yn adgoffa, gan ddyweyd "Y mae hyny yn y canu."

Y mae i bawb ei helbul.

Y mae llafur arno.

*Labour* yw y gair Saesneg am *lafur* y Gymraeg, i'r rhai y mae lliaws o ystyron, megis *gwaith*, *gweithio*, *trafod*, *trafael*, *poen*, *lludded*, *gwewyr*, *gwewyr esgor*, &c. Fel yna gwelir mai tra phriodol yw dweyd "y mae *llafur* arno," am ddyn yn mhang-feydd angau, mewn *ing*, *poen* ac *ymdrech*, wrth farw.

Y maen a dreigla ni fwsogla.

Y maent yn fy mwyta yn fyw.

Amaethwr, dyweder, rhwydd lawn ei foddion, eithr yn rhy dyner wrth ei blant—yn eu dwyn i fyny mewn seguryd, a phob rhyw wegi, nes wrth hyny ddifa ei holl eiddo; yna, o'r herwydd, yn gorfod troi i ofyn ac i dderbyn elusen, efallai, gan y rhai fuasent yn gweini iddo ef—hiliogaeth y rhai fuasai yn cardota, yn rhanu cymhorth i'r sawl a roddes elusen i'w tadau hwy. Rhywbeth o'r natur yna yw *cnewull* y dywediad.

Y mae poen i fagu plant : mae'n dyblu ar y diblant.

Y mae prawf y potes yn y bwyta.

Y mae synwyr o flaen glendid.

Y mae un tro da yn achosi un arall.

Y mae wedi rhoi ei droed ynddi.

Wedi myn'd yn rhwym. Y rheswm dros nodi y *troed* yn hytrach na'r *llaw* ydyw fod y *troed* yn fwy o ddinystr i ddyn na'i *law*; fel y dywedir, "Gwilia ar dy *droed*"; "Eu *traed* a redant i ddrygioni." Dyna pa'm y rhoir y *troed* yn lle y *llaw*.

Y meddyg, iacha dy hun.

Yn gymwysiadwy at ymhonwyr.

Ymolchiad y gath.

Y mul gwirion. Hefyd, Yn biniwn fel mul.

Yn ara' deg mae dàl iâr.

Yn ara' deg mae myned yn mhell.

Yn blwmp ac yn blaen.

Yn boeth y b'o fo !

Yn droednoeth-goesnoeth.

Yn dywyll fel y fagddu.

Yn ddi-dor derfyn.

Yn ddigon a diflasu cwn.

Yn ddigon tâl i newid y lleuad.

Yn ddim uwch bawd sawdl.

Y mae y *fawd* fel y *sawdl* ar y llawr. Yr ystyr yw, fod llawer un nas gall godi yn uwch na'i *safon*, neu ei *level*.

Yn erbyn y graen.

Yn fater crog.

Yn faw fel nyth gwialchen (mwyalchen).

Yn fwy na llon'd ei ddillad.

Ynfyd a gâr swn ei lafar.

Yn gam fel cryman.

Yn gastiog fel llwynog.

Yn gebyst gwyllt.

Yn gynt na chynta' gallwn i.

Yn gywilydd ei weled.

Yn ngenau y sach mae cynnilo y blawd.

Yn llygad ei le.

Yn mendio fel cyw gŵydd.

Un rhagoriaeth berthynol i gywion gwyddau yw eu bod yn cynnyddu yn hynod o gyflym. Hyn a roddodd fodolaeth i'r hen ddywediad adnabyddus, "Yn mendio fel cyw gŵydd." Nid mendio yn yr ystyr o wella ar ol rhyw afiechyd neu ddamwain feddylir, oblegid y creaduriaid bach mwyaf anhawdd i'w gwella ydynt yn yr ystyr yma.

Yn mhell y bydd llwynog yn lladd.

Yn mhen hir a hwyr.

Yn mhob crefft mae twyll.

Yn mhob gwlad y megir glew.

Yn mhob pen y mae opiniwn.

Rhywbeth yw opiniwn sydd yn cael ei ddal gan y meddwl, heb ymchwiliad manwl, heb brawf digonol, heb wybodaeth sicr. Peth, hefyd, y dichon amheuaeth fodoli yn ei gylch, a dau ddyn feddwl yn wahanol am dano heb fod yr un o honynt yn euog o wrthuni.

Yn mhob rhith y daw angau.

Y neb f'o a bys ei droed yn hwy na'i fawd, ymgroesed pawb rhag hwnw.

Y neb sy'n hau ysgall ni fêd wenith.

Yn oer fel y gareg.

Yn oes y gigfran.

Y nofiwr goreu yn ngwaelod y llyn.

Y *pysgodyn* yn ngwaelod y llyn yw y nofiwr goreu. Dyna beth a feddylir. Math o wireb ddychymmygol ydyw.

Yno y lladdwyd ei lo.

Rhywun a'i dynfa yn barhaus at fàn neillduol olygir yma.

Yn rhyferthwy gwyllt!

Yn simsan rhwng dau feddwl.

"Careg simsan," &c., yn aml-air sigledig—"an *sad*"—ansefydlog. Canwaith felly yn ngheryg yr afon—yn sefyll ar gareg simsan—rhwng dwy gareg arall—yn methu gwybod i ba un i lamu o honi, nes cael fy hun yn fwy simsan na'm safle, ac yn cwympo i'r afon fel coedyn rhyngddynt. Yr un a "Cloffi rhwng dau feddwl" (Elias gynt?) Dyn ansefydlog ei feddwl—di sâ, a di lwydd, ysywaeth.

Yn waeth na phobi'n gri.

Yn wàn fel glasdwr.

Yn wên o glust i glust.

Yn wlyb fel dyfrgi.

Yn wysg ei drwyn.

Yn y baw y tyf yr eginyn.

Yn y boreu mae dal diwrnod.

Yn y maes y mae medi.

**Yn y màn.**

Wrth "yn y *man*" y golygir *toc*, yn mhen ychydig amser. Wrth "yn y *fan*" y golygir yn y lle, yn y llecyn, &c.

**Yn ystrin ulw'n mhob màn.**

A fyddo yn cael ei drafod gan bawb—yn boeth 'stori.

**Y perthynas nesa' i'r cnawd sydd yn wylo.**

Ymddengys mai ystyriaeth ar y dyfalu a'r siarad ofer mewn cynhebrwng yn nghylch eiddo yr ymadawedig achlysurodd fodolaeth yr hen ddywediad yna, fel math o wialen geryddol yn cael ei gweinyddu mor awgrymiadol a tharawiadol i'r amgylchiad sobr a difrifol ar y pryd.

**Y peth sydd ar ran dyn ni chaiff ceffyl m'ono.**

**Y plentyn yw tad y dyn.**

Y mae mwy nag un ystyr i'r hen ddywediad ystrydebol yna. Plentyn yr oes hon fydd dyn yr oes sydd yn codi, yr hon sydd fel planigyn tyner ac iraidd yn tyfu ar làn afon, gan godi ei ffurf a sugno cynnaliaeth o adnoddau yr oes bresennol.

**Y pysg goreu nofiant yn agos i'r gwaelod.**

**Yr aeres.**

Felly y gelwir y frechdan gyntaf o'r dorth ar bob pryd.

**Yr awr dywyllaf yw'r agosaf i ddydd.**

**Yr euog a ffŷ heb neb yn ei erlid.**

**Yr hen adfwl gwirion.**

**Yr hen a ŵyr, yr ieuangc a dybia.**

**Yr hen chwech yn ol.**

Byddai ar arfer yn y dyddiau gynt roddi chwe'cheiniog cam mewn gwystlon serch, gan y naill i'r llall; a phan y deuai ar y naill neu y llall awydd rhoddi i fyny y garwriaeth, anfonid "yr hen chwech yn ol."

**Yr hen drigian.**

Yr afrosgo.

**Yr hen am gyngor, yr ifangc am waith.**

**Yr hen gigfran.**

Wrth blentyn drwg ei swn. Cyffelybiaeth oddiwrth grawc aflafar y gigfran. "Yr hwn sydd yn rhoddi i'r anifail ei borthiant; ac i gywion y gigfran pan lefant."—Salm cxvii. 9.

Yr hen grafangc y frân.

Yr hen greadur diffrwyth.

Yr hen law.

Yr hen lo.

Yr hen rawys.

Dywediad am ddyn neu anifail heglog a hynod o dàl, ond hynotach o deneu; croen ac asgwrn, dim mwy, dim llai—dywediad a ymddengys i'r ystyriol fel wedi codi oddiar y gair Garawys, yn golygu tymmor ympryd a chystuddio y corff.

Yr hen rwyll.

Yr ŵyll, bwgan, ellyll; hunlle. Sain leddf yn gyffredin a roddir i'r ŵyll a farchogai ebolion gwylltion gynt yn y nos, yn ol hen goelion gwrachïaidd.

Yr hen sinach.

Cymhwysir y dywediad yn fynych at ddyn crintachlyd a grwgnachlyd na bydd yn hoffus yn mysg ei gymmydogion, megis pan y dywedir, "Yr hen sinach brwnt," "Yr hen sinach câs," &c. Y mae y gair fel hyn yn cael ei ddefnyddio yn lled fynych mewn ystyron edliwiol. Saif hefyd yn enw ar amryw leoedd.

Yr hwch wedi myn'd drwy'r shop.

Yr hwn a geisio foddio pawb ni foddia neb.

Yr hwn nad edrycho o'i flaen a gaiff ei hun ar ol.

Yr hyn a fu a fydd.—Biblaidd.

Yr hynotaf o'r naw.

Yr hyn na chlywo'r glust ni ferwina'r galon.

Yr hyn nad yw yn costio dim nid yw werth dim.

Yr hyn sydd ammeuthyn i'r wydd sydd ammeuthyn i'r ceiliogwydd.

Yr addysg yw i bob meistr a meistres roddi yr un ymborth a'u hymborth eu hunain i'w gweision a'u morwynion, ac nid ymborth *gwaelach*. Unrhywiaeth *chwaeth* ydyw gwythïen y gwerinair hwn.

Yr iar a eisteddo ni thewycha.

Wedi estyn ei goes.

Wedi marw.

Wedi hanner ei grasu.

*Penfeddalwch* yw y syniad, fel y mae ŷd heb ei grasu gan wres y cynhauaf, neu dorth o fara heb ei chrasu mewn ffwrn, yn feddal a diflas, felly y dyn *hannerog* o synwyr.

Wedi hau gwynt rhaid medi corwynt.

Wedi lladd fy hun a'm ceffyl hefyd.

Wedi llyngcu mul.

Y mae llawer o bethau ar yr olwg gyntaf yn anhawdd eu dirnad; felly, gall llawer fethu canfod pa fodd y bu i'r creadur o *ful* gael ei lyngcu, a pha beth a'i llyngcodd. Edrydd traddodiad mai Cymro hen ffasiwn tra ar ei daith gyda'i ful a'i gwerthodd, ac a gymerth yr arian a dderbyniodd am dano i dafarndy cysurus, gan brynu â hwynt sudd yr heidden, yr hwn a lyngcodd efe yn llwyr. Wedi hyny, rhoddes tafod y bobl droad dychymmygol i'r mynegiad, gan gymhwyso nwyd gyndyn ac ystyfnig y mul at bobl agored i lithro, a hyny yn rhy fynych, i gyflwr go-gyffelyb i'r eiddo yntau—y mul.

Wedi myn'd dros ben llestri.

Broddeg gyffredin ac eglur o ran geiriau yw hon, ond tywyll o ran achlysur ei tharddiad—deilliedig, efallai, am rhyw reswm anhysbys i bawb yn awr; felly, yn arwain ein meddwl drwy yr hyn a wyddom at yr hyn ni wyddom. Fodd bynag, yn ystyr ymarferol llafar, golyga ddynsawd elai yn orphwyll oddiwrth blisgyn o achos, gan luchio pobpeth o'i gwmpas yn driphlith-draphlith draws eu gilydd, nes anmharu pob gweddusrwydd a hawliau cysur agos ato ar y pryd.

Wedi myn'd dros gof.

Wedi myn'd heb wely dano.

Wedi myn'd hyd at y coed.

Wedi myn'd i ben y gorllan.

Wedi myn'd i din-y-gler.

Wedi myn'd i'r clawdd.

Wedi myn'd i'r gwellt.

Dywediadau ereill o'r un ystyr yw "Wedi myn'd i'r *niwl*," "Wedi myn'd a'i ben *iddo*," &c. Cynnrychioli *clindarddach*

Y tri hen beth mwyaf diwerth,—hen gath, hen ferch, a hen frenin.

Y tu clyta' i'r clawdd.

O *clyd* y deillia *clyta'*, y *d* yn troi yn *t*, fel dru*d*, dru*t*ach, dru*t*af: felly cly*d* cly*t*ach, cly*t*af. Yr ystyr yw "yr ochr mwyaf clyd i'r clawdd," yn golygu *y mwyaf gofalus o hono ei hun.*

Y wraig yn gwisgo'r clôs.

Lle byddo gwraig yn mynu bod yn bobpeth yn y tŷ ac allan, cyfrifir ei bod yn "gwisgo'r clôs." *Gwisgo'r clôs*, yn ddiau, mewn gwraig ydyw llywodraethu gwaith ei gwr, a thrwy hyny esgeuluso ei gwaith priodol ei *hun*.

*"Dall i'r gorphenol, dall i'r dyfodol."*



